# GWINLLAN Y BARDD

SEF

## PRYDYDDWAITH

AR

AMRYWIOL DESTUNAU A GWAHANOL FESURAU.


GAN Y DIWEDDAR

BARCH. DANIEL EVANS, B.D.,

*Aelod o Gymdeithas Coleg Iesu, Rhydychain,*

(DANIEL DDU O GEREDIGION).


---

*TRYDYDD ARGRAFFIAD, YN NGHYD A BYWGRAFFIAD O'R AWDWR.*

---



---


LAMPETER:

ARGRAFFWYD GAN GWMNI Y WASG EGLWYSIG GYMREIG, CYF.

1906.

I'R

PARCH. THOMAS BEYNON, M.A.,

ARCH-DDIACON CEREDIGION,

COLOFN SEFYDLOG YR EGLWYS,

PRIF-NODDWR YR AWEN,

A

HAEL GYNNORTHWYWR POB PETH AG SYDD

YN TUEDDU AT ANRHYDEDD

HEN WLAD Y CYMRO,

A GWELLHAD TYMHOROL AC YSPRYDOL

EI GYD-GENEDL,

Y CYFLWYNIR

Y GWAITH HWN,

FEL ARWYDD O BARCH DIFFUANT,

GAN EI UFUDDAF

WASANAETHYDD,

YR AWDWR.

# RHAGYMADRODD.

---

HYGAR GYDWLADWYR,

WRTH gynnyg fy llafurwaith prydyddol i'ch sylw, deisyfaf eich hynawsedd am bob ammherffeithrwydd ag sydd ynddo. Ystyried yr oedranus i mi gyfansoddi rhannau o hono pan yn llangc; a chan fy mod wedi cael fy annog gan fy nghyfeillion i wneuthur Llyfryn cryno o'm holl brydydd-waith, nid oedd modd gwych i adael llawer allan. Nid dichonadwy boddio pawb. Rhai ond odid a'm beiant am ysgrifenu ar destunau digrif; ond gan i'r dwysfyfyrgar a chrefyddol Brydydd Seisnig, Mr. Cowper, ysgrifenu y gerdd honno, John Gilpin, &c.; a chan fod yn arferol gan lawer o brydyddion Seisnig eraill, y rhai a arferant fynychaf ymdrin â thestunau dwysion, adael i'r Awen weithiau ymddifyrru ar destunau digrif, pa fodd y gellir beio ar brydydd Cymreig wrth ddilyn eu hol, hyd ag yr ymgadwo rhag troseddu rheolau gweddeidd-dra? Mae rhai o'm cydgenedl a alwant ym mron bob cerdd, os na fydd ar destun crefyddol, yn *faswaidd*; wrth yr hwn air y deallir anfoesol. Gwahanol i hyn yw syniadau cenhedloedd gwareiddiedig eraill, y rhai a ymhyfrydant mewn cerdd ar unrhyw destun diammhur, hyd ag y byddo ynddi syniadau prydyddol ac iaith weddaidd. Y mae gwahaniaeth rhwng cân ddifyrrus a chân faswaidd ac anllad.

2

O'r blaen nid oedd fy nghyfansoddiadau cyhoeddedig ond ar wasgar yma ac accw ; a thalaf ddiolch gwresog i'm cyfeillion am foddio fy Awen mor belled a'i galluogi i weled ei ffrwythau, nid yn wasgaredig ar ganghennau planhigion anhygyrch, ond yn un *Winllan.*

Mewn hwyl dda, llona, ddarllenydd ;—caswaith
Yw ceisio cnoi prydydd :
I Awen deg wnai 'n ei dydd
Ei goreu na ro gerydd.

Ni elwais y beirddion hoywlan—yn fil
I foli'm gwaith egwan :
Yn rhyw lun drosto 'i hunan
Llefaru gaiff fy Llyfr gwan.

D.E.

*Ebrill 4, 1831.*

# = = Cofiant = =

Y

## PARCH. DANIEL EVANS, M.A., B.D.

*(Daniel Ddu o Geredigion);*

YNGHYD A BYR HANES Y TEULU.

---

Y MAE bellach driugain mlynedd wedi treiglo ymaith oddiar pan y diflanodd y Bardd Du o dir y byw; ac y mae angeu o flwyddyn i flwyddyn yn cyflym leihau nifer y rhai sydd yn ei gofio, ac a fuont yn cymdeithasu âg ef. Er hyny, y mae nifer luosog o fobl ieuainc a hen, nas gwelsant ef erioed, yn ei edmygu yn fawr fel ysgolor gwych, a bardd eneiniedig; un ag y gallai unrhyw gymydogaeth ymfalchio o'r anrhydedd o'i fagu. Mynych y sonir am dano yn ardal y Cribyn, a mynych y darllenir, ac yr adroddir darnau o'i farddoniaeth felus a thyner. Gan fod enw y Bardd Du mor adnabyddus ar hyd a lled Cymru, diau y bydd yn dda gan lawer o ddarllenwyr yr argraffiad hwn gael ychydig o'i hanes; ac i'r cyfryw y cyflwynaf yn wylaidd yr ychydig ffeithiau canlynol.

### Ei Gartref.

Y mae Maesmynach wedi ei gysylltu, bron yn anwahanadwy, âg enw Daniel Ddu. Yno y ganwyd ef yn y flwyddyn 1792, ac yno y bu yn cartrefu gyda'i rieni, hyd nes y symudasant hwy ac yntau i Faesnewydd tua'r flwyddyn 1823. Ffermdy yw Maesmynach, yn nghŵr deheuol plwyf Llanfihangel Ystrad. Saif mewn pantle isel, yn nyffryn Granell, ac yn nghesail y Gaer, yr hon a'i cysgoda rhag gwyntoedd llymion y Gogledd a'r Dwyrain. O'i flaen y mae dôl wastad,

a thrwyddi y rhed yr afon Granell, yn nyfroedd peraidd yr hon y chwareua y brithyllod nwyfus yn awr megys cynt. Treuliodd y Bardd Du lawer awr yn pysgota y rhai hyn, canys yr oedd "Yn caru mân deulu'r dwr."

Gall y teithiwr o Lanwnen i'r Cribyn gyrhaedd Maesmynach trwy droi ar yr aswy, ryw haner milldir cyn d'od i'r Cribyn; y mae tua haner milldir o'r ffordd fawr. Caiff y teithiwr o Gwrtnewydd i'r Cribyn gyflawn olwg ar ffermdy Maesymynach wrth ei fod yn dynesu at bentref Capel St. Silin. Yr wyf yn cofio yn dda am y ty a tho gwellt arno, fel yn amser yr hen bobl; ond y mae wedi ei adnewyddu er ys blynyddoedd bellach, trwy godi y muriau yn uwch, a gosod llechi gleision yn dô arno; ond, mae yr hen fantell simdde, yn yr hon y dychmygaf yr arferai y Bardd Du eistedd wrth danllwyth o fawn, yn aros o hyd.

Saif Maesnewydd ar yr ochr arall i'r afon Granell, ryw chwarter milldir o Faesymynach, yn mhlwyf Llanwnen. Y mae ar yr ochr ddeheu i'r heol sydd yn arwain o Gwrtnewydd i'r Cribyn. Gyferbyn âg ef, ar yr ochr arall i'r heol, saif Maesgwyn, lle y bu Dewi Hefin yn byw am lawer o flynyddoedd. Y mae afon Granell yn gwahanu y ddau dŷ yma oddiwrth bentref Capel St. Silin. Yn Maesnewydd y bu Daniel Ddu farw ar yr 28ain o Fawrth, 1846, yn 54 mlwydd oed.

## Ei Rieni.

Enwau tad a mam Daniel Ddu oeddynt David a Sarah Evans. Mab Cefnbryn, Pencarreg, oedd David Evans, a merch Pistyllgwyn, Llanybyther, oedd Sarah, ei wraig. Daethant i Faesmynach i ddechreu eu bywyd priodasol. Cawsant eu gosod mewn amgylchiadau bydol cysurus ar y dechreu, ac mae'n debyg i ffawd barhau i wenu arnynt trwy gydol eu bywyd, wrth drin y fferm. Clywais gan hwn a'r llall fod llawer o son am "Ystafell Briodas" y wraig ieuangc, pan y daeth i Faesmynach gyntaf, am ei bod yn fwy helaeth ac yn well na'r cyffredin. Cynwysai *set* o lestri tê, peth anghyffredin iawn y pryd hwnw; er hyny nid oeddynt ond cwpanau crynion, heb un ddolen i gydio ynddynt. Mae dau bâr o honynt ar gael yn awr, un gan fy chwaer Sarah, a'r llall gan fy nith yn Nghwmmynach, ac mae *jug* o eiddo yr hen batriarches yn fy meddiant inau.



*Photo.*] MAESMYNACH. [J. Hefin Thomas.

Ganwyd i David a Sarah Evans bedwar o blant,—tri mab a merch, sef Evan, Thomas, Daniel, a Mary. Y *trydydd* mab oedd y Bardd Du, ac nid yr *ail*, fel sydd wedi ei gofnodi lawer gwaith. Bu y rhieni yn ddiwyd a darbodus iawn, er mwyn bod yn alluog i roddi addysg dda i'w plant, a gwnaethant eu rhan tuag atynt yn anrhydeddus. Ar ol i'r plant dyfu i fyny, a phriodi o'r mab hynaf Evan, adeiladodd David Evans dŷ newydd ar gongl y fferm, sef Maesnewydd; ac yno y treuliodd ef a'i wraig hwyrddydd eu bywyd, a'r Bardd Du yn cartrefu yno gyda hwynt, oblegyd yr oedd erbyn hyn wedi dychwelyd o Loegr; ac yno y bu yn cartrefu hefyd ar ol marwolaeth ei rieni.

O ran eu daliadau crefyddol, Bedyddwyr selog oedd David a Sarah Evans. Yr oeddynt yn aelodau o Gapel Aberduar, a chyrchent yno yn gyson i addoli, a bu David Evans yn ddiacon ffyddlon yno am lawer o flynyddoedd. Elai, hefyd, ar droion i Grugymaen, lle yr arferai Bedyddwyr yr ardal hono gynal eu gwasanaeth, cyn adeiladu o honynt eu capel presenol, Brynhafod. Ymddengys iddo yn ei ewyllys olaf adael cymorth sylweddol at gynal yr achos yn Nghrugymaen; bu fy nhadcu yn gofalu am y rhodd tra bu yn fyw, ond, ar ol ei farwolaeth, trosglwyddwyd hi i ddieithriaid, ac nid wyf yn sicr beth sydd wedi d'od o honi. Bu David Evans farw yn y flwyddyn 1838, yn 87 oed; a Sarah, ei wraig, yn y flwyddyn ganlynol, yn 82 oed. Claddwyd y ddau yn mynwent Eglwys Blwyfol Pencarreg, a chanodd y Bardd Du yr englyn canlynol ar eu holau, yr hwn hefyd sydd yn gerfiedig ar eu maen coffa,—

Rhoi tad a mam fàd i fedd,—rhoi wyneb
Rhai anwyl i'r ceufedd;
Trwy fôn y galon gulwedd,
E dery glwyf fal dur gledd.

## Ei Frodyr.

*(a)* Ganwyd Evan, brawd henaf y Bardd Du, yn Maesmynach, yn y flwyddyn 1786. Cafodd addysg dda yn ol manteision yr oes hono, ac yr oedd yn ddyn deallus a darllengar. Yn ol y dystysgrif sydd yn fy meddiant, cafodd ei fedyddio yn Eglwys blwyfol Llanfihangel Ystrad, yn y flwyddyn 1820, gan y Parch. John Evans, periglor

plwyf Nantcwnlle. Gweinyddwyd ei briodas yn yr un Eglwys ar y 4edd o Dachwedd, 1822, gan ei frawd, y Parchedig Daniel Evans *(Daniel Ddu)*. Enw ei wraig oedd Sarah, yr hon oedd ferch henaf Mr. John Jones, Cwmere, o'r un plwyf, ffermwr cyfrifol, a *cattle-dealer* adnabyddus yn ei ddydd. Dechreuodd Evan a Sarah Evans eto eu bywyd priodasol yn Maesmynach,—y tad a'r fam yn ymneillduo i Faesnewydd fel y nodwyd eisioes. Ystyrid Evan Evans yn ddyn llawn iawn yn y gymydogaeth; dyn goleuedig, call, ac o yspryd caredig, parod i dosturio lle y byddai angen, ac i roddi ei farn ar faterion o bwys yn yr ardal. Bu Evan Evans farw yn y flwyddyn 1866, yn 79 mlwydd oed. Goroesodd ei weddw ef am ddeg mlynedd; bu hithau farw yn y flwyddyn 1876, yn 78 mlwydd oed. Claddwyd y ddau yn mynwent Capelygroes, ac y mae dau faen hardd yn nodi'r fan lle y gorweddant.

Ganwyd i Evan a Sarah Evans naw o blant, sef:—Martha, Sarah, Rachel, David, John, Eliza, Daniel, Evan, ac Anne. Priododd y merched oll â ffermwyr ieuainc, a sefydlasant heb fod yn nepell oddi wrth yr hen gartref; buont oll yn byw mewn amgylchiadau cysurus, a dygasant i fyny deuluoedd lluosog (Gweler yr achrestr). Erbyn hyn, mae y plant i gyd wedi myned drwy, "Y geledig gul adwy," ond fy Mam, a Modryb Eliza, Dolwern. Bu David farw yn ddyn ieuanc 21 mlwydd oed yn 1850. Priododd John â Rachel Hughes, Tyngwndwn, a buont yn byw yn fferm Cwmere am flynyddoedd maith. Daeth yn ol i fyw i'r Cribyn ar ei ymadawiad â'r fferm, ac yno y bu farw yn y flwyddyn 1904 yn 73 mlwydd oed. Claddwyd ef yn mynwent y Capel Undodaidd yn y pentref. Bu Daniel ar ol marwolaeth ei dad yn cadw y fferm gyda'i fam, yn Maesmynach, ac am dair blynedd ar ol ei mharwolaeth hi, pryd y bu yntau farw, yn ddyn gweddw yn y flwyddyn 1879, yn 44 mlwydd oed. Claddwyd ef yn mynwent Capelygroes yn ymyl ei rieni. Dyn caruaidd iawn oedd Dan, Maesmynach, fel ei gelwid, ac yr oedd yn barchus iawn yn y gymydogaeth. Canodd Dewi Hefin wyth o englynion coffadwriaethol iddo. Wele'r cyntaf,—

Un mwyn oedd Dan, Maesmynach,—un llon iawn,
A llawn o gyfeillach;
Ni alwyd ei anwylach
I gafell bedd—gyfaill bach.

Priododd Evan âg Anne, merch Thomas Jones, Henryd, Llanbedr. Aethant i fyw i Bontmarchog, Dihewyd, ac yno y buont nes y bu farw Dan, Maesmynach, pryd yr aethant i fyw i'r lle olaf a enwyd er cadw y llinach yn yr hen gartref. Bu Evan Evans yn ddyn llawn yn y gymydogaeth. Yr oedd yn aelod o Fwrdd Ysgol cyntaf Llanfihangel Ystrad. Enwogodd ei hun fel magwr da duon, a chipiodd wobrau am y cyfryw yn y *Royal Show*; bu, hefyd, yn gwasanaethu llawer fel beirniad mewn gwahanol arddangosfeydd. Bu farw yn y flwyddyn 1904, yn 65 mlwydd oed, a chladdwyd ef gyda'r teulu yn mynwent Capelygroes. Mae ei weddw, a'r mab ieuangaf, a thair merch, yn byw yn Maesmynach yn awr.

(*b*) Ganwyd Thomas Evans, brawd arall Daniel Ddu, yn y flwyddyn 1789, a phriododd âg Esther, merch John Evans, Yswain, Nantygelli, Dihewyd. Dechreuodd Thomas ac Esther Evans eu bywyd priodasol yn fferm Llysfaen-Uchaf, yr hon sydd, fel Maesmynach, ar ystâd Castle Hill. Saif, hefyd, yn nyffryn Granell, ryw filldir yn îs i lawr na Maesmynach, ac yn mhlwyf Llanwnen. Yno y buont yn byw am flynyddoedd maith, a ganwyd iddynt dri mab, sef—John, David, ac Evan. Ar farwolaeth y Bardd Du yn 1846, symudodd Mr. a Mrs. Evans o Lysfaen i Faesnewydd, lle, hefyd, y buont feirw, a chladdwyd hwynt yn mynwent Dihewyd gyda theulu Nantygelli. Syrthiodd Maesnewydd i ddwylaw dieithriaid ar ol eu marwolaeth hwynt.

Aeth John, mab hynaf Thomas ac Esther Evans, pan yn ieuanc at ewythr iddo, brawd ei fam, sef y Parch. John Evans, M.A., Steyning (un o ysgolheigion Dafis Castell Hywel), i ofalu am y fferm, perthynol i'r Eglwys. Tra yno, priododd â Miss Anne Morris, Scalford. Ar ol rhyw ysbaid, daeth yn ol i fyw i Nantygelli; yr oedd Nantygelli a thiroedd eraill wedi dyfod iddo yn etifeddiaeth; ac ar ei farwolaeth yr oeddynt yn myned i feddiant y mab. Bu John Evans farw yn y flwyddyn 1885, a'i weddw yn 1888, a chladdwyd y ddau yn mynwent Dihewyd. Bu y mab, John Evans, yn byw yn Nantygelli ar ol ei dad am amryw flynyddau, ac yn mwynhau meddiant o'r ystâd. Priododd âg Elizabeth Edwards, Plás, Ystrad. Ganwyd iddynt fab a merch,—John ac Agnes. Bu'r tad farw yn y flwyddyn 1888, a chladdwyd yntau, hefyd, gyda'r teulu yn mynwent Dihewyd.

Ar ol ei farwolaeth, ymadawodd y weddw a'r plant â Nantgelli, ac y maent yn bresenol yn byw yn Nantygelli House, Bryn Road, Llanbedr.

Dygwyd David, ail fab Thomas ac Esther Evans, i fyny yn offeiriad. Cafodd ei addysgu yn Ysgol Ramadegol Llanbedr, ac aeth oddi yno i Goleg Dewi Sant yn 1836. Tebygol fod Daniel Ddu wedi bod yn offerynol i ddwyn ei nai i fyny yn offeiriad ; canys y mae hanes ei fod yn cymeryd dyddordeb ynddo, ac yn gohebu â Dr. Llewelyn yn ei gylch, pan yr oedd yn y Coleg. Ar ol gorphen ei yrfa golegawl, bu am ryw ysbaid yn pregethu yn Aberaeron, ond dychwelodd adref i Faesnewydd at ei rieni yn lled fuan, a bu farw yno yn y flwyddyn 1850, yn ddyn di-briod, yn 34ain mlwydd oed, a chladdwyd ef yn mynwent Dihewyd.

Bu Evan, mab ieuangaf Thomas ac Esther Evans, yn gweithio gartref gyda'i rieni ar y fferm, a phriododd â Margaret Jones, Brynyreglwys (chwaer y diweddar Mr. Thomas Jones, arwerthydd, Cwrtnewydd). Cafodd y fferm iddo ei hun pan y symudodd ei rieni i Faesnewydd. Ganwyd iddynt bedwar o blant, sef Esther, David, Thomas, ac Eliza. Mae Esther yn briod â'r Parchedig Thomas Thomas, Y.H., Green Park (gynt Criborfawr). Mae Mr. Thomas yn un o'r ychydig rai sydd yn cofio am y Bardd Du. Pan yn hogyn, bu yn yr ysgol gyda'i ewythr, y Parchedig Rees Davies (un o gyfeillion y Bardd Du), yn y Cribyn, ac yn lletya gydag ef yn Mhenbryn. Yr oedd Mr. Thomas a fy mam yn cyd-ysgolia, a threulient lawer o'u hamser hamddenol gyda'u gilydd yn Maesmynach a Maesnewydd. Mae Margaretta, unig ferch Mr. a Mrs. Thomas yn briod â Dr. Evan Jones, Llanybyther. Dygwyd David, mab hynaf Evan a Margaret Evans, i fyny yn siopwr. Bu am ysbaid yn cadw siop yn y Cribyn, ond y mae yn awr yn byw yn Llysfaen House, Llanybyther. Priododd â Rachel, merch David Davies, gynt o Grugwheel, Llanwenog. Bu Thomas, yr ail fab, yn gweithio gartref gyda'i rieni yn Llysfaen, a bu yn wasanaethgar i'w fam, ar ol marwolaeth ei dad, i gadw y fferm yn y blaen. Ar farwolaeth ei fam, cymerodd y fferm iddo ei hun, a bu yn byw yno hyd 1902, pryd y symudodd i Gastell Du, Llanwnen, a thorwyd y cysylltiad rhwng teulu y Bardd Du â Llysfaen ar ei

symudiad. Mae Thomas Evans yn briod â Mary, merch David Thomas, Caeglas, Llanbedr, a ganwyd iddynt fab a merch; bu y mab farw yn ieuanc, ond y mae Miss Evans yn byw gyda'i rhieni yn Nghastell Du. Priododd Eliza, y ferch ieuengaf, â Mr. Evan Felix, Grug-garn, Cilcennin, ac y maent yn byw yno ar hyn o bryd. Bu Evan Evans farw yn y flwyddyn 1872, yn 54 mlwydd oed, a chladdwyd ef yn mynwent Dihewyd gyda'i rieni; a Margaret Evans yn y flwyddyn 1896, yn 71 mlwydd oed, a chladdwyd hi gyda thylwyth Bryneglwys yn Llanwenog.

(*c*) Ganwyd Mary, merch David a Sarah Evans, ac unig chwaer y Bardd Du, yn Maesmynach, yn y flwyddyn 1794. Priododd â Lewis Lewis, etifedd Nantgwynfynyddisaf, ac aeth yno i fyw. Ganwyd iddynt dri o blant, sef Sarah, David, a John. Bu'r fam farw yn 1823, yn 29 oed, a'r mab ieuangaf yn 1828, yn 9 oed. Claddwyd hwynt yn mynwent Llanarth. A ganlyn yw'r ysgrif ar eu maen coffa,—

Sacred to the memory of
Mary Lewis, wife of Lewis Lewis,
Nantgwynfynyddisa',
in this parish,
and daughter of Mr. David Evans,
Maesmynach, in the parish of Ystrad,
who departed this life on the 16th day of
July, 1823, aged 29 years.
Also of
John Lewis, who died
May 13th, 1828, aged 9 years.

Priododd David âg Anne, merch Pentrefelin, a bu yn byw yn Nantgwynfynydd ar ol iddo briodi am ryw gymaint o amser: symudodd oddi yno i fyw i Aberaeron, ac yno y bu farw, a chladdwyd ef yn mynwent Llanerchaeron.

Priododd y ferch, Sarah, â Thomas Thomas, siopwr, Drefach, Llanwenog. Ganwyd iddynt fab a merch, John a Mary. Mae'r teulu i gyd yn gorwedd yn mynwent Rhydybont, ac nid oes un o honynt yn aros. Drwg genyf na chaniata gofod i mi ymhelaethu; ceisiaf ddangos y cysylltiadau yn mhellach drwy gyfrwng yr achrestri.

Yn awr deuwn at wir wrthddrych y Cofiant—Daniel Ddu.

Gwelodd oleu dydd, fel y crybwyllwyd eisioes, yn Maesmynach, yn y flwyddyn 1792. Cafodd addysg ragorol yn

moreu ei oes; canys bu am lawer o flynyddoedd o dan ofal y Parch. Eliezer Williams yn Ysgol Ramadegol Llanbedr, i'r hwn y mae yn talu gwarogaeth neillduol o barch yn y Farwnad a gyfansoddodd ar ei ol. Nid oes amheuaeth nad oedd ganddo dalentau dysglaer, ac iddo fod yn ymroddgar iawn gyda'i efrydiaeth. Nid oedd Coleg Dewi Sant mewn bodolaeth ar yr adeg hono, ac felly parotowyd Daniel Ddu ar gyfer arholiad cyntaf (*Matriculation*) Prifysgol Rhydychain, yr hwn a basiodd Tachwedd 15fed, 1810. Graddiodd yn B.A. yn 1814 (trydydd dosparth yn y clasuron Groeg a Lladin). Cymerodd ei M.A. yn 1817, a'i B.D. yn 1824 Yn y flwyddyn 1817, hefyd, gwnaed ef yn Gymrawd (*Fellow*) o Goleg yr Iesu; a mwynhaodd fudd y Gymrodoriaeth hyd ei farwolaeth. Ychydig wyddis am ei fywyd tra yn y Goleg. Mae'n dra thebyg ei fod yn lled brysur yno gyda'i astudiaeth o'r clasuron, ond nid yn gymaint felly nes anghofio iaith ei fam. Deallwn oddiwrth ei "Gywydd y Cymmod" fod Ioan Tegid yn Rhydychain ar yr un pryd ag ef; ac nad oedd yno neb arall, y pryd hwnw, yn ymwneyd dim â barddoniaeth Gymreig. Yr oedd y ddau fardd yr adeg hono yn gyfeillion mynwesol, ac yn cael llawer egwyl i ymddiddan am Gymru a Chymraeg, ac i ymddifyru gyda'r Awen.

Ymddengys i Daniel Ddu, ar ol gorphen ei efrydiaeth yn Rhydychain, fod am ryw gyfnod yn Gaplan y *Royal Military Asylum*, Northampton. Yn "Ngolud yr Oes" am Chwefror, 1864 (tud. 64), ymddengys llythyr oddi wrth y Bardd Du at yr hen fardd Dafydd Ddu Eryri. Credaf y bydd o ddyddordeb i'r darllenwyr; am hyny, wele gopi o hono, ynghyd â nodyn Caledfryn (yr hwn a ddaeth o hyd i'r llythyr) at Olygydd "Golud yr Oes,"—

Cefais afael yn y llythyr canlynol yn mhlith fy mhapurau. Y mae Cywydd hefyd yn y llythyr gwreiddiol ar "Isder Yspryd," yr hwn sydd wedi ymddangos yn "Ngwinllan y Bardd." Gofynai y bardd ieuanc farn yr hen fardd ar y Cywydd. Carasem weled atebiad "Dafydd Ddu." Rhydd cyhoeddiad y llythyr ryw feddylddrych am y golygiadau mawr oedd gan y bardd ieuanc ar Dafydd Ddu, y bardd a'r hynafiaethydd enwog, ynghyd â'r gostyngeiddrwydd a'r hunan ymwadiad a lywodraethai ei galon. Yr oedd efe wedi dysgu "Cyfodi ger penwyni a pharchu wyneb henadur"—gwers y byddai yn dda i lawer o feirdd ieuainc yr oes hon ei dysgu.

CALEDFRYN.

## DANIEL DDU AT DAFYDD DDU.

FY ANWYL SYR,

Yr wyf yn dra diolchgar i chwi am eich sylw caredig o fy llythyr diweddaf, ac ymdrechaf gael lleshad drwy eich cyfarwyddiadau. Yr holl lyfrau Cymreig sydd genyf yn bresenol yw "Diddanwch Teuluaidd," "Corph y Gainge," ac "Awengerdd Peris." Ymdrechaf gyrhaedd y llyfrau a enwasoch chwi cyn gynted ag y byddo modd. Yr wyf yn gweled yn "Awengerdd Peris" lawer o eiriau yn cael eu terfynu yn dra gwahanol i ddim a glywais erioed o'r blaen. Y mae efe yn dyweyd "Dyma ddull*ion* myrdd o ddynion ar wyneb*ion* erwin obaith."

Y mae ganddo chwilfriw*iawg*, mwyn*awg*, a llawer o eiriau ereill yn diweddu mewn or, og, awg, ac *ol*, neu *awl*, na fyddwn ni byth yn eu harfer yn Neheudir Cymru. Yr wyf wedi sylwi ar hyn mewn llawer o'r prydyddion, ac yr wyf yn cael fy mhoeni wrth geisio deall pa bryd y mae y drwydded hon i gael ei chymeryd, os trwydded ydyw. Yr ydym yn arfer chwilfriw yn ein gwlad ni. Ai Geiriadur Owen yw y safon wrth yr hwn y gallwn gael ein cyfarwyddaw yn y lluosog, ac mewn terfyniadau geiriau? Dyma wyf yn feddwl, a ydyw yr *holl* eiriau gyda'u terfyniadau caniatadwy wedi eu dodi yn y gwaith hwnw, ac ai nid ellid gwneyd i rai ddiweddu yn wahanol i'r hyn a welir yn yr awdwr hwnw? Os na fedd ef ond chwilfriw, a allai rhywun ddyweyd chwilfriw*iawg*? Gwelais y gwaith rhagorol hwnw, ond nid yw yn fy meddiant. A ydych chwi yn ei ystyried yn wasanaethgar ragorol tuag at ddeall yr iaith Gymreig, a diwylliant prydyddiaeth? A ydych chwi yn ystyried gwaith Lewis Morris yn gywir o ran ei gynganeddiad? A ydyw y llinell yma yn gywir—"Ymerodr wyf am rydid"? Yr wyf yn ffaelu gwybod pa bryd y mae ansoddeiriau yn oddefol yn y rhif unigol, pan fyddo y sylweddair yn lluosog. Y mae Peris yn dyweyd—"Porthladdoedd, moroedd yw eu muriau—*gwych*." A ydyw hyny yn gywir?

Yr wyf wedi ysgrifenu cywydd, yr hwn a gyfansoddais ryw amser yn ol, ac yr wyf yn gobeithio yr edrychwch drosto, a nodi allan y gwallau mwyaf amlwg. Cofiaf unrhyw linellau pan gyfeiriwch atynt heb i chwi fyned i drafferth i'w hysgrifenu.

Mewn atebiad i'ch gofyniad gyda golwg ar fy sefyllfa, y mae genyf i'ch hysbysu fy mod, yn bresenol, yn Gaplan i'r *Royal Military Asylum*, yn y dref hon. Yr wyf hefyd yn M.A.; ac yn *Fellow of Jesus College*, Rhydychain. Fy oedran yw chwech ar ugain. Yr wyf wedi bod hyd yma yn drafferthus gyda'r ieithoedd gwahanol sy raid eu dysgu yn y Brifysgol, ac o ganlyniad, heb allu cyflwyno fawr o amser at yr Awen. Fy yngais cyntaf oedd Cywydd i'r Fesen, yr hwn yr wyf wedi ei hollol anghofio, ac onide buaswn yn ei anfon gyda llaw. Ysgrifenais ganiad Lladin ar y testyn yn Rhydychain ar achlysur o bwys, a daeth i fy mhen i geisio ei gyfieithu i'r Gymraeg. Yr oedd genyf y pryd hwnw gyfleusdra i weled Gramadeg Sion Dafydd Rhys, yr hwn sydd yn llyfrgell y Coleg, ond ni chefais erioed help i ddeall y rheolau. Benthyciais, unwaith, Ramadeg Sion Rhydderch, gan ddyn yn Nghymru, am ychydig o amser, ond ni werthai efe y llyfr ar un cyfrif.

Yr wyf yn llawn fwriadu, yn bresenol, i ddiwyllio fy hun yn y Gymraeg, y mae genyf amser a thuedd at y peth. Gallaf wneyd rhyw

ddaioni. Nid tylodi yw fy nhynged, os na thynaf hi arnaf fy hun. Y mae hyn, fel y gwyddoch, wedi bod yn elyn i lenyddiaeth ein gwlad druan. Yr ydych wedi clywed, y mae'n debyg, fod Eisteddfod i gael ei chynal o dan nawdd rhai o'r bendefigaint. Y mae Iolo Morganwg yn cymeryd rhan go amlwg yn eu plith. Ni welais ef erioed. Y mae efe, fel yr wyf yn deall, yn ddyn pur wybodus, ond nid ydwyf fi, o'm rhan fy hun, yn mawrhau llawer ar ei brydyddiaeth.

Yr wyf yn ymgydnabyddus â'r rhan fwyaf o'r awdwyr Seisnig ydych chwi wedi eu henwi, ond nid y cwbl.

Byddai yn dda iawn genyf gael gweled llythyrau Edward Richards. Clywais fod Ieuan Brydydd Hir yn brydydd da, ond ni welais ddim o'i gynyrchion, oddigerth "Awdl y Nef," yr hon sydd yn "Nghorph y Gaingc," yr hon wyf yn fawrhau yn rhyfeddol.

A oes un Geiriadur yn gystal a Gramadeg gan Dr. Davies? Yn mha le y gellid prynu y llyfrau ydych chwi yn eu henwi? Os yn Llundain, cymeraf y cyfleusdra cyntaf i fyned yno i'w hymofyn. Y mae geiriau yn wahanol yn eu hystyron gyda chwi ragor y maent gyda ni, a thrachefn y mae rhyw *(gender)* wahanol yn cael ei phriodoli iddynt. Yr ydym ni yn dyweyd troed *wen* yn ddieithriad. Cefn *gwyn*, troed *wen*. Clywais eich bod chwi yn y Gogledd yn dyweyd troed *gwyn*. Goddefwch imi ddyweyd eto fy mod yn rhwymedig iawn am eich parodrwydd i gydsyniaw â fy nghais diweddaf, ac yr wyf yn gobeithio hefyd y sylwch ar y cywydd hwn, ac y nodwch allan unrhyw feiau a ellwch ganfod yn ei ran ramadegol a barddonol. Yr wyf yn deall fod eisiau ymarferiad mawr i gynyrchu nerth ymadrodd a llyfnder iaith.

Gyda diolchgarwch mawr, a gwir ddymuniad am eich llwyddiant,

Ydwyf, anwyl Syr,

Yr eiddoch yn gywir,

DANIEL EVANS.

O.Y.—Gadewch i mi wybod, os gwelwch yn dda, y gair Cymreig goreu am *melancholy*.

"Dawnus fydd pawb o'th dynion."
"Ddoeth waith llawn a ddaeth i'th llwybr."

Y mae "i'th ddynion," "i'th lwybr," yn cael ei arfer yn gyffredin, yr wyf yn meddwl. Wrth ba reol y mae y llinellau uchod yn oddefol?

"*Yn* llogell y Twrc llawgoch."
"*Yn* domlyd lle rhaid ymladd."
"*Yn* ddewr iawn medd yr annoeth."
"*Yn* degwch a phob digon."

*Cywydd y Mochyn Mawr gan Iolo Morganwg.*

A ydych chwi yn ystyried yr *n* yn wreiddgoll pan fyddo bogail o'i blaen? Yr wyf yn meddwl eich bod chwi yn ei gochel yn eich prydyddiaeth. Yn mha le y gallaf gael Gramadeg Bardd Nantglyn? Pa un yw y ffordd oreu i ddeall hen awdwyr? A oes un Geiriadur drwy ba un y gellid gwneyd hyny allan? Ai Owen yw y goreu?

*20, Kingsland Place,*
*Northampton, Tachwedd 9, 1818.*

Y mae y llythyr uchod yn dystiolaeth o gariad y bardd ieuanc at yr Awen, a'i ddyddordeb yn llenyddiaeth ei wlad, ynghyd â'i awyddfryd i'w gwasanaethu. Mae yn debyg oddiwrth ei dystiolaeth ef ei hun, mai ychydig oedd wedi gyfansoddi hyd yma, ond yn y flwyddyn 1823 cawn ef yn fuddugwr ar y ddwy awdl yn Eisteddfod Dyfed.

Gellir casglu mai gwanaidd oedd ei iechyd wedi ymadael â'r Athrofa, ac iddo o herwydd hyny roddi ei swydd i fyny yn Northampton, a dychwelyd i Geredigion at ei rieni; ac ni wnaeth ar ol hyn gymeryd un swydd gyhoeddus; ond bu yn myned ar adegau i bregethu i Loegr, a dywedid ei fod yn bregethwr hyawdl. Gwnaeth yn benaf ddilyn gogwydd ei natur at lenyddiaeth a barddoniaeth Gymreig. Tybir mai yn Eisteddfod Dyfed, 1823, y daeth Daniel Ddu gyntaf i sylw ei gyd-wladwyr fel un o brif feirdd y Dywysogaeth. Testyn y gadair yn yr Eisteddfod hono oedd, "Awdl ar Sefydliad Coleg Dewi Sant," a'r Bardd Du enillodd y gamp. Hefyd, yn yr un Eisteddfod, cynygid tlws arian am "Awdl ar Fuddugoliaethau diweddar y Groegiaid ar y Tyrciaid," a chipiodd y Bardd Du y wobr hon drachefn. Yn y flwyddyn 1828 enillodd ariandlws a gwobr yr Hybarch Archddiacon Beynon, Llywydd Cymdeithas Cymreigyddion Caerfyrddin, am ei "Gerdd Arwraidd ar y Gauaf." Er iddo fod yn llwyddianus yn yr ymdrechion hyn, nid yw yn debygol iddo wastraffu llawer o'i yni mewn cystadleuaethau. Nid ei awdlau buddugol sydd wedi gwneyd "Gwinllan y Bardd" yn llyfr teuluaidd yn Ngheredigion, ond ei ganeuon melus a thyner. Yn y flwyddyn 1824, ysgrifenodd Daniel Ddu lythyr dyddorol at ei gyfaill, y Parchedig Walter Davies (*Gwallter Mechain*), yn cynwys cyfeiriadau neillduol at Eisteddfod Dyfed. Y mae y llythyr gwreiddiol yn awr yn Llyfrgell Coleg y Brifysgol, Aberystwyth. Er dangos gallu llythyrawl yr awdwr, wele gopi o hono, wedi ei ddyfynu trwy ganiatad caredig y Parch. G. Eyre Evans o "Lampeter" (tud. 133),—

MAESMYNACH, NR. LAMPETER,
*22 March, 1824.*

MY DEAR SIR,

I intended ever since the Eisteddfod at Carmarthen to write you a few lines to say, among other things,—that I was very glad old Dyfrig had given you so much satisfaction. He did his best, and took a great deal

of pains. Leonidas did not take his pen in hand till it was very late. Mr. Williams of Lampeter had very great hesitation in deciding between Leonidas and Llywarch, though Mr. John Howells was decidedly on the side of the old Grecian warrior. Llywarch's poem is a very elegant little one :—

"Dieneidient o dàn ei haden." Pindar.

"A dawn ei gân yn dân gwyllt."

I am going to tell you a tale which I am sure you will be very sorry to hear. The Archdeacon Beynon, the truly respectable president of the Cymreigyddion at Carmarthen, took occasion at the last anniversary of the Society, in the Town Hall, at Carmarthen, to say that the old metres were ridiculous, disgraceful, and the invention of dark and barbarous ages. Nobody said a word against him, conceiving as we did that what he uttered would go but a little way to annihilate the metres, and that possibly the harmony of the Meeting might be interrupted. In the afternoon, however, at the Old Bush, where we dined, Mr. D. L. Jones (Clyn Adda), a dissenting minister, and Tutor at the Presbyterian Academy, Carmarthen, took occasion in the middle of an address of a general nature to speak a few words in opposition to the sentiments which the Archdeacon had expressed in the morning, but made his observations with as much respect and deference to the old gentleman as could possibly be done. The Archdeacon immediadely on his return home wrote to the secretary to say that his connection with the Society was at an end! I am truly sorry for this, but it cannot be remedied. I was very glad to hear of the establishment of the Society at Newtown. I am sure that, as it has the support of Mr. Jenkins, it cannot fail of prosperity. The Aberystwyth Society is the best conducted that I have ever attended in England or Wales. It did my heart good to be present there on the 2nd of this month. I am sure one young man composed 50 *o Englynion*, and good ones too, on different subjects, in the course of six hours. Every individual on being called upon by the *Llywydd* to give a toast makes a speech—then follows an air on the *Telyn*, and the bards, while the instrument is at work, let fly the *Awen* twenty miles above the clouds and she returns with her beak full of Ambrosia on which the company feed before another toast is given.

Yn gry' cwyd dy ben o'r graian—yn lwys
Taliesin mwyneiddlan;
Tro olwg i'n tir hoywlan,
Gwel awr deg—Walia ar dân—
Ar dân a'r hen gân ar gynnydd—telyn
Ymhob teulu dedwydd,
Cân cog ar fawnog fynydd—
"Cymru a fu—Cymru fydd."

Is nothing to be done at last with respect to the annihilation of some of the 24 metres? I think that some of them might very well be thrown into the gutter, such as Mr. Gorch[est] y Beirdd, and Mr. Tawddgyrch. I wish the old Triban Morganwg was put in the room of Gorchest y Beirdd. What have we to do for the heroic metre? Is not the *Cywydd*

too difficult? I can find no harmony in Dr. Pughe's *Gwynfa*. I should very much like to have your opinion whether, if a person writes for future fame, he had better write in the common metres or the *mesurau caethion*. Edward Richard's metre is quite as difficult as most of the 24. I am much inclined to think that to write in the modern metres, and introduce as much *Cynghanedd* as possible, without tying one's self worse than Samson ever was tied would be the securest way for a poet to "*pingere in æternum*." May I beg of you or Mr. Jenkins, of Kerry, to let me know if you hear of a person that would grant a title in any part of North Wales. I have a young friend a B.A., who wants one very much.

Yours with great regard and respect,

DAN'L EVANS.

*Inter nos* about the Archdeacon, I said not a word to oppose him.

Yn yr Eisteddfod hon fe enillodd Gwallter Mechain fathodyn y Cymrodorion am Awdl Gymreig; ac, hefyd, fe gipiodd un Griffith Griffiths, bachgenyn o Ysgol Ramadegol Llanbedr, fathodlyn am y traethawd goreu ar "O Dduw y mae pob peth." Nid rhyfedd felly fod gweithrediadau yr Eisteddfod hon yn anwyl iawn gan Daniel Ddu.

Yn y flwyddyn 1827, ar Ddydd Gwyl Ddewi, yr oedd y Bardd Du yn bresenol mewn gwledd a gynhaliwyd yn Llanbedr, er dathlu agoriad Coleg Dewi Sant. Traddododd araeth Seisnig ar yr achlysur, yr hon a ymddangosodd yn y *Cambrian*, newyddiadur a gyhoeddid y pryd hwnw, fel yn awr, yn Abertawe.

Y mae yn araeth gryno, gref, ac i'r pwynt. Wele gopi o honi, wedi ei dyfynu eto o "Lampeter" (tud. 138), y Parch. G. Eyre Evans:—

As it has been announced that the cultivation of the ancient British Language is to form a leading feature in the course of study to be adopted at St. David's College, I feel more confident in requesting the Chairman's permission to recite a few lines of poetry in that language on the glorious and interesting occasion on which we are now assembled. When I consider that for more than twenty years, this building has been an object of public hope; mingled indeed with gloomy apprehensions;—and, when now in a state of completion, I see it rear its lovely head above the Vale of Tivy, fair as the rising sun; when I behold a realization of all that my muse, in the warmth of her fancy, anticipated, when at the first she sang to the praise of this establishment—and above all, when I see at the head of it, a genuine, true hearted Cymro, in name, in heart, in blood, Llewelyn Lewellin, when I behold in that individual an old and valued friend, over whose

earlier-studies I myself watched with feelings of deep interest:—all these reflections combined, make the heart too full for the tongue to speak.

"Quis talia fando
"Temperet a lachrymis."

Thou hast been elevated, Lewellin, not like thy namesake of old,[a] to lead thy country's armies to the field of slaughter and of blood—but happier thy destinies, to lead the sons of Cambria through the still and quiet paths of learning and science to the happy regions of eternal peace and glory.

Yna adroddodd y penillion,—

I'r Coleg, fy Awen, moes etto fwyn gân.

Nid yn aml y gwelir dim yn fwy prydferth a tharawiadol na'r araeth uchod. Mae'r araeth a draddododd yn Eisteddfod Aberhonddu, 1822, hefyd yn gyffrous, yn gynhwysfawr, ac yn llawn gwres gwladgarol. Gwelir hi gyda'r englynion yn nghorph y "Winllan." Gelwid ar y Bardd Du yn aml i feirniadu mewn Eisteddfodau, ond nid oedd yn hoff iawn o'r swydd. Yr oedd ffrwgwd ar ol barn y pryd hwnw, fel yn awr, ac yr oedd yntau o natur *sensitive* iawn. Yr oedd yn feirniad galluog, manwl, a gonest, ac ar ei wyliadwraeth bob amser i beidio tramgwyddo yr aflwyddianus. Efe oedd yn un yn berniadu yn Eisteddfod y Fenni yn 1834, pryd y dyfarnwyd y gadair i Taliesin ab Iolo am ei awdl ar "Dderwyddon Ynys Prydain." Bu hefyd yn beirniadu cyfansoddadau Eisteddfod Caerdyf yn yr un flwyddyn.

Canodd linellau godidog o glod i gyfansoddiad tra rhagorol a anfonasid o'r Amerig i'r Eisteddfod gan "Gwenffrwd," sef Mr. T. Lloyd Jones, gynt o Dreffynon, yr hwn gyfansoddiad a gollodd y tlws yn unig o herwydd ei fod ychydig o linellau yn ychwaneg na'r nifer benodedig. Y mae y llythyr canlynol oddiwrth Daniel Ddu at Gwallter Mechain yn rhoi ar ddeall eu bod hwy ill dau wedi bod yn cyd-feirniadu o dan nawdd Cymdeithas Cymreigyddion Llundain yn 1841. Y mae'r llythyr hwn eto wedi ei ddyfynu o "Lampeter" (tud. 137), y Parch. G. Eyre Evans:—

---

[a] The celebrated warrior, Llewelyn ap Gruffydd, the last Prince of Cymru.

MAESMYNACH, NR. LAMPETER,
*7 May, 1841.*

MY DEAR SIR,

I have received the compositions on which you and I have been appointed by the London Cymreigyddion Society to judge. They are numbered regularly from 2 to 43, and I am afraid that no. 1 must be missing somewhere. I gathered from Mr. Thomas, the Secretary's communication that the originals were with you, and if so, I should like to have a copy of no. 1 (if extant) transcribed in a letter. No. 2 begins:—

"Ow! rhoi enwog arweinydd—yr Awen."

As far as I can see at present from a rather hasty perusal of the poems, I think that no. 37 by *Dysgybl* is very meritorious. The four last *Englynion* by *Dysgybl* appear to me very striking if "hawddgar digyfwrddyd" and "mawryd" are properly used. I never saw the 2 first words before, but from what I can guess from Dr. Pughe's Dictionary, they are employed in a proper sense by the author. I suppose "mawryd" is the same as "mawrydig." I find "mawrydig" often used. It is to be lamented that there is no verb belonging to the last line by *Dysgybl.* There is no verb also in the second *Englyn.* I should like to hear from you as soon as you have perused the poems, for I guess that we are permitted to compare notes.

I am
Very dear Sir
With the utmost respect
Yours very sincerely

DL. DDU.

*The Rev. Walter Davies,*
*Llanrhaiadr Mochnant,*
*Nr. Oswestry.*

Yr oedd gan Gwallter Mechain air da i Daniel Ddu, fel y tystia yr englyn canlynol o'i eiddo,—

Calon wrth galon heb gelu—'wyllys
Gyfeillach trwy Gymru,
A Gwynedd wna gyd ganu
Da anwyl ddawn Daniel Ddu.

Yn y flwyddyn 1831 cyhoeddodd Daniel Ddu yr hyn ag oedd efe ei hun yn farnu yn deilwng o'i farddoniaeth o dan yr enw "Gwinllan y Bardd." Cafodd ei argraffu gan Mr. David Rees, Ton Press, Llanymddyfri. Rhoddwyd i'r llyfr dderbyniad gwresog, fel y gwelir oddiwrth y rhestr helaeth o enwau'r tanysgrifwyr sydd ar ddiwedd y gyfrol. Ychydig iawn o'r argraffiad hwn sydd ar gael, a llai fyth o'r tanysgrifwyr. Credaf fy mod yn iawn wrth ddweyd nad oes un o

honynt ar dir y byw erbyn hyn. Ysgrifenodd y Bardd Du lythyr dyddorol arall at ei gyfaill Gwallter Mechain ar yr achlysur hwn eto. Wele gopi o hono wedi ei gymeryd, fel y lleill, o "Lampeter" (tud. 135), y Parch. G. Eyre Evans:—

MAESMYNACH, NR, LAMPETER,
*10 March, 1831.*

MY DEAR SIR,

So many years have elapsed since I have had any communication with you before, that I hope you will excuse my troubling you with a short epistle. When I wrote to you last, the purport of my letter was to consult you whether a bard who was so much under the influence of the *Awen* as not to resist the temptation of writing something when she paid him a visit, would do wiser and more for the benefit of the community, and to preserve his own fame, to write in the *Mesurau Caethion*, or *Rhyddion*. I have written a great variety in both. My chief object in writing in the *Mesurau Rhyddion* was to improve the taste of the *Dyfed* people, by abolishing from my composition semi-English words. All that I have ever yet written, at all worthy—if any be worthy to appear in print, will be published very shortly under the title of

"GWINLLAN Y BARDD."

I received from Mr. Williams of Meyfod some time before the temporary suspension of the "Gwyliedydd" a letter requesting me to send contributions to it. The reason that I have sent so little to any Periodical of late years was a wish to reserve my pieces till I should have enough to make a small vol., and you know that there is generally a complaint if many pieces that have appeared in print before, come on the stage again.

I wish there was a greater intercourse between South and North Wales. "Gwilym Padarn" stayed with me a week last year in his tour through South Wales, and ever since his reasoning on the subject I have much regretted that I ever admitted *twyll awdl* to any of my free metre compositions. I have seen with abhorrence such a word as "gwydda'" put by the North Walian inferior Bards to rhyme with "gwala," but our writing "tybie'" to rhyme with "adre" is on reflection equally abominable. In reviewing my poems I have endeavoured as far as I could to remedy these deficiencies. In a *Cywydd* written nearly twenty years ago I have this line

Yn aml am dêg resymau,

the next is

Chwilio'r wyf i'w chael i'r iau,

and one or more bards have told me on my showing them the corrected proofs of the "Gwinlian," printed off, that the *cynghanedd* is altogether unjustifiable, and I am extremely anxious to have your judgment respecting it, as I do not know of any other line, but something may be

said in its defence as not militating against the rules. I meant it as *cynghanedd groes*, and I think I have seen instances in respectable authors of running up a *cynghanedd* in this way, as if the word was to be pronounced "amal" and yet written "aml" to make the line 7 syllables.

I saw this line the other day, in an old *Cywydd* not announced by whom written,

A thrwy Loegr uthr olygiad,

non-sense line signifying my meaning,

Mae naw gafr yma'n gofyn.

I know that my line is much weaker than this (if the *cynghanedd* is defensible), but what I wish to have your judgment upon is whether my line is altogether out of the rule, and a bad precedent, and I have reason to request your answer if possible per return of post.

As this note is on business of my own, rather than anything else, you will excuse my giving you the additional trouble of paying its postage.

I am, my dear Sir
Most sincerely yours

DANIEL EVANS.

Must it be *cynghanedd ddisgynedig* ar "yn aml mae dyn yn ymlin." Give us a line on the probability of the restoration of the *Eisteddfodau*.

Cyhoeddwyd ail-argraffiad o'r "Winllan" yn 1872 gan Mr. Jenkin Davies, Llanbedr. Yn yr argraffiad hwn ceir ychwanegiad helaeth o farddoniaeth wedi ei gasglu gan Dewi Hefin a Mr. Jenkin Davies, ac mae rhai o'r darnau yn brydferth iawn. Mae yr ail-argraffiad wedi ei werthu allan er ys blynyddau maith.

Yn awr, dychwelwn at Daniel Ddu yn ei gysylltiadau teuluaidd a chymdeithasol. Fel y nodwyd eisioes, dychwel odd adref yn bur fuan ar ol ymadael â'r Coleg. Er mai yn Maesnewydd y cartrefai, yr oedd yn cyfeirio ei ohebiaethau o Faesmynach hyd y diwedd. Er ei fod wedi cymeryd Urddau Offeiriadol, ychydig iawn fu yn bregethu ar hyd ei oes. Mae yn debyg ei fod yn myned i Rydychain un waith yn y flwyddyn, yr hyn oedd yn angenrheidiol iddo wneyd er cadw ei Gymrodoriaeth. Pregethai hefyd ar droion yn Eglwys Pencarreg. Bu yn wasanaethgar iawn mewn angladdau yn y gymydogaeth, a bu hefyd yn gweinyddu mewn priodasau a bedyddiadau fel y gwelir oddiwrth gof restri Eglwysi Llanfihangel Ystrad a Dihewid. Cawn *entry* yn Nghof-lyfr Eglwys Ystrad, am dano yn gweinyddu priodas

ei frawd, Evan, a Sarah Jones, Cwmere, ar y 4ydd o Dachwedd, 1822; efe, hefyd, a fedyddiodd eu mherch, Sarah (sef fy Mam), yn Maesmynach, yn y flwyddyn 1824. Yn y flwyddyn 1841, gweinyddodd briodas rhwng y ferch hon a John Jenkins, Rhydybannau, yn yr un Eglwys, ac efe hefyd a fedyddiodd ferch henaf y ddau-ddyn ieuanc hyn (sef fy chwaer, Sarah) yn Rhydybannau yn 1843. Clywais fy Mam yn adrodd lawer gwaith fel yr oedd hi yn gadael Maesmynach ar foreu ei phriodas, yn marchogaeth rhwng ei thad a'i hewythr, Daniel Ddu. Yn canlyn ar eu holau yr oedd gwŷr y "Seek out," a rhyw bymtheg ugain o wŷr a gwragedd, meibion a merched, oll ar gefn eu ceffylau, yn cyflymu dros yr hen "Gaer" i bentref y Cribyn. Gwilym Gwenog, cefnder fy nhad oedd blaenor, gwŷr y "Seek out," efe oedd yn adrodd y penillion pen-drws yn Maesmynach, a dywedai ei fod wedi cael ei anfon yn genad

I 'mofyn Sarah Evans lon
Yn wraig i John, Rhyd'benne.

Cyfarfu y ddwy briodas yn y pentref, ac yna teithiasant gyda'u gilydd i Eglwys Ystrad, lle gweinyddwyd y briodas gan y Bardd Du. Dychwelwyd i Rydybannau i giniaw, ac i gynal neithior yn y prydnawn, yn ol arferiad yr oes, pan oedd *priodas fawr* mewn bri. Y Bardd Du ysgrifenodd *lythyr gwawdd* y neithior, a hwnw yn Seisnig; paham hyny mewn ardal mor Gymreigaidd a'r Cribyn, nis gallwn benderfynu. Wele gopi o hono,—

RHYDYBENNE, YSTRAD,
CARDIGANSHIRE,
*September 27th, 1841.*

As we intend to enter the Matrimonial State, on Friday, the 22nd day of October next, we beg leave to announce that a BIDDING will be held on that day by the Young Man, at his father's house, called Rhydybenne, in the parish of Ystrad, where the favour of your attendance is humbly requested; and whatever donation you may be pleased to confer on the occasion, will be cordially acknowledged, and cheerfully repaid whenever a demand will be made for the same.

We remain
Your faithful Servants,

JOHN JENKINS,
SARAH EVANS.

The Young Man desires that all gifts of the above nature due to him may be returned on that day. His father and mother (Jenkin and Diana Jenkins), request a return of all similar debts, due to them, to the hands of the Young Man on that occasion, and will be thankful for any additional manifestations of good will. The gifts of his brothers (David, James, and the late Thomas Jenkins), are to be paid on that day to him. Also his uncle and aunt (David and Eleanor Jenkins, Clynmeheryn), and likewise his sisters and brothers-in-law, will be thankful for all obligations conferred.

The Young Woman desires that all gifts of a similar description due to her, may be returned to the Young Man on the day before mentioned; and will be thankful, together with her father and mother (Evan and Sarah Evans, Maesmynach), for all favors granted.

Yr oedd diwrnod priodas y pryd hwnw yn rhywbeth i edrych ymlaen ato, ac i'w gofio yn ol llaw. Yr oedd yn ddiwrnod cyffrous a rhamantus; dydd i dalu ac i dynu *pwython*, dydd o lawenydd a rhialtwch anarferol, pryd yr oedd y gwahoddedigion yn aml yn cael eu rhifo wrth y canoedd. Rhyfedd y fath gyfnewidiad sydd wedi cymeryd lle yn ffurf priodasau ein gwlad erbyn hyn. Daniel Ddu fedyddiodd ei nith, Eliza Evans, Maesmynach, ar y 27ain o Ebrill, 1834. Mae yn fy meddiant ysgrif yn ngwaith llaw y Bardd ei hun yn tystio hyn.

Yr oedd Daniel Ddu ar y telerau goreu â dynion diwylliedig a llengarol y gymydogaeth yr oedd yn byw ynddi, ni waeth beth fyddai eu syniadau crefyddol na gwleidyddol; barnu'r dyn ac nid y ffurf allanol o hono wnai Daniel Ddu. Yr oedd yn edmygydd mawr o'r hen Ddafis, Castell Hywel, ac yr oedd yn bresenol yn ei angladd yn Llanwenog yn Ngorphenaf, 1827, ond nid oes tystiolaeth iddo gymeryd rhan yn y gwasanaeth.

Gosododd y Milwriad Evans, Dolau Bach (Highmead), un o ysgolheigion yr hen Ddafis, faen coffa ar ei fedd, fel teyrnged o barch iddo. Daniel Ddu gafodd yr anrhydedd o gyfansoddi englynion i'w gosod arno. Wele atebiad y Bardd i'r Milwriad pan ysgrifenodd ato i'w ceisio:—

MAESMYNACH,
*22 May, 1828.*

DEAR SIR,

I did not think it necessary, on the receipt of your note, to reply that it would give me pleasure to comply with your desire. I have taken all the pains in my power to write the epitaph (?) in intelligible

language, in a Bardic metre. The stanzas may be translated somewhat in this manner :—

"Great is the multitude that he, the pillar of literature, reared in the paths of science: Pleasure and mental nourishment were derivable from the store of his wit and learning. To cultivate fair virtue and piety was his constant aim, in the peace of God and of his fellow men."

It is at your option whether to use the two stanzas or one of them. I am very glad that this honour is conferred on the old gentleman.

I am, Dear Sir,
Yours respectfully,
DANIEL EVANS.

*Major Evans, Highmead.*

Wele'r englynion,—

Dwys gododd mewn dysgeidiaeth,—do lawer,
Da lywydd gwybodaeth ;
Llawenydd gaid a lluniaeth
O ddien ffrwd ei ddawn ffraeth.

O eigion calon, coledd,—daioni
A dianaf rinwedd
Oedd ei fryd o hyd, yn hedd
Ei Naf, a gwir dangnefedd.

Mae y llythyr gwreiddiol yn mherchenogaeth y Milwriad Davies-Evans yn awr.

Cyfansoddodd Daniel Ddu hefyd benillion i Sion y Panwr, yr hwn a ddygai "Delyn Dewi," sef gweithiau Davis, Castell Hywel, i Gastellnedd i'w hargraffu. Y mae y penillion yn dlws a chwareus, ac yn siarad yn uchel am y "Delyn."

Mae'i dolef fel y diliau ;
Mae mêl a gwin o'i genau ;
Nid âi di byth o'r fan i ffwrdd,
Os bydd it' gwrdd a'i thannau.

Canodd hefyd bedwar englyn i "Delyn Dewi," a thri englyn i "Gofiant Davis, Castell Hywel," gan y Parch. T. J. Griffiths (*Tau Gimel*). Ceir hwynt oll yn y "Winllan."

Yr oedd y Bardd Du ar delerau cyfeillgar iawn â'r Parchedigion Rees Davies, gweinidog Rhydygwin a Chapely-groes, a T. J. Griffiths (*Tau Gimel*), gweinidog y Cribyn. Pan fyddai Cyfarfodydd Chwarterol yn Nghapel Undodaidd y Cribyn, yr oedd Daniel Ddu bob amser yn bresenol ac yn ciniawa gyda'r gweinidogion. Efallai mai ei gyfaill mwyaf mynwesol o bawb oedd Reuben Davies, Tanrallt (*Reuben Brydydd y*

*Coal*). Yr oedd yn ddyn ieuanc o dalentau disglaer, ac yn wir fardd, ac yr oedd gobeithion uchel am ei ddyfodol, ond bu farw Reuben addawol, Ionawr 8fed, 1833, yn 25ain mlwydd oed. Canodd y Bardd Du chwech englyn coffadwriaethol iddo, a theimlodd y ddyrnod o'i golli yn ddwys.

> Cerdd ddifai a luniai 'n lân
> Fel eurgainc o fol organ.

Bu Mr. David Thomas (*Dewi Hefin*), hefyd, pan yn hogyn, yn treulio llawer o'i amser yn nghymdeithas y Bardd Du; y mae yn cofio ei flynyddoedd olaf yn dda, ac y mae ei dystiolaeth yn werthfawr. Bu Dewi yn ysgrifenu llawer o ddarnau drosto i'w danfon i wahanol gylchgronau. Clywais Dewi yn adrodd iddo un tro ysgrifenu enw'r Bardd Du ar ol y cyfansoddiad; dywedodd yr awdwr wrtho: "Peidied gwneyd hyna eto; y fi sydd i wneyd hyna, Dafydd bach." Ond ychwanegai: "Arnaf fi yr oedd y bai am beidio dweyd wrtho yn mlaen llaw."

Un arall sydd yn cofio Daniel Ddu yn dda yw y Parch. T. Thomas, Y.H., Green Park. Pan yn hogyn, arosai gyda'i ewythr, y Parch. Rees Davies, Penybryn, er mynychu'r Ysgol Ramadegol yn y Cribyn; a chan fod y ddau Barchedig mor gyfeillgar, yr oedd mewn cyfle i weled Daniel Ddu, a'i adnabod yn dda. Yr oedd Mr. Thomas a Dewi Hefin yn gyfeillion mawr yr adeg yma, ac yn ymwneyd tipyn â barddoniaeth; yr oedd yr awyrgylch o amgylch Daniel Ddu a Reuben yn ffafriol iawn i hyny. Daeth Dewi ar ol hyn yn enwog fel bardd, ond darfu i ddyledswyddau bywyd, i raddau, beri ysgariad rhwng Mr. Thomas â'r Awen. Un arall o gyfeillion Daniel Ddu oedd David Williams (*Iwan*), Penybontbren, Llanwnen. Yr oedd yn fardd awengar. Canodd gerdd alarus ar "Fedd fy Nhad." Ceisiai Daniel Ddu yn gariadus ddenu ei sylw oddiwrth y tristwch a'r tywyllwch at agwedd oleuach a mwy gobeithiol bywyd. Y mae penillion y ddau awdwr yn neillduol deimladol a phrydferth. Yr oedd haul Iwan yn barod yn machludo, a bu farw Ionawr, 1823, yn 28ain mlwydd oed, a chanodd Daniel Ddu dri englyn coffadwriaethol iddo.

Yn mhlith ei gyfeillion, mwy neu lai pellenig, yr oedd y Parch. Walter Davies, M.A. (*Gwallter Mechain*), W. Ellis Jones (*Cawrdaf*), D. Owen (*Brutus*), y Parch. John Jones,

M.A. (*Ioan Tegid*), J. M. Jones (*Ioan Cunllo*), a llawer eraill. Yr oedd lletty cysurus a chroesaw gwresog yn Maesmynach a Maesnewydd i feirdd a llenorion a fyddent ar bererindod. Yr oedd Ioan Tegid yn ymwelydd cyson â'r Bardd, a bu Gwilym Padarn, Cawrdaf, a llawer eraill, yn llettya o dan ei gronglwyd.

Bu fy Mam yn treulio llawer o'i hamser gyda'i hewythr yn Maesnewydd pan yn ferch ieuanc, a chafodd lawer o addysg ganddo. Rhoddodd lawer o anrhegion iddi o dro i dro, ac y mae rhai o honynt yn ei meddiant heddyw, ac yn cael eu gwerthfawrogi yn fawr. Ganddi hi y mae y bwrdd deri bychan, ar ba un yr arferai y Bardd fwyta ei foreufwyd; gyda hi hefyd yr oedd ei *book case*, ond mae hi wedi ei roddi yn anrheg i'r Ysgoldy perthynol i Gapel Undodaidd y Cribyn.

Yr oedd y Bardd Du yn hoff iawn o bysgota, a threuliai lawer orig ar làn y Granell yn ceisio denu y brithyllod â'i blufyn. Y mae ei gân ar "Ddyddiau Pysgota" yn naturiol a desgrifiadol iawn o brofiad y pysgotwr ar làn yr afon. Yr oedd yr un mor hoff o hela, fel y gwelir oddiwrth ei benillion i'w gi, Carlo. Maent yn dlws a desgrifiadol iawn; yr ydym bron yn gweled Carlo wrth ei waith yn y brwyn a'r eithin wrth eu darllen. Mor wirioneddol, yn ddiau, yw y llinellau,—

Mewn serch cywirach wyt, was cu,
Na dynion, deulu'r gweniaith.

Ac mor dyner a nodweddiadol o'r Bardd yw y canlynol,—

Ar ol dy holl fyddlondeb di,
A fyddaf fi mor greulon
Ag, yn dy henaint, pan y daw,
It' omedd llaw gariadlon.

Gwelir ysbryd yr helwr, hefyd, yn ei benillion i'r milgi anffodus "Topper."

Clywais James Evans, Cribyn Farm, yn adrodd lawer gwaith, sut yr oedd ef, a hogiau eraill y gymydogaeth, yn myned gyda Daniel Ddu i guro'r perthi pan yr oedd yn saethu, ac nid anfynych y gogleisid Awen y Bardd i dori allan mewn rhigwm o benill neu englyn. Yr oedd yn hoff iawn o gael ambell i redfa ar ol y bytheuaid. Yr oedd yn gyfeillgar



MAESNEWYDD. MAESGWYN A PHONTBREN GRANELL.

*Photo.*] [J. He'in Thomas.

iawn â'r Yswain Bowen Davies, Maescrugiau, ac arferai ei wahodd ef a'i gŵn i Faesmynach bob tymhor er mwyn cael tipyn o hela.

Mae ei *hunting watch* ar gael yn awr. O'r tu allan iddi mai *initials* y Bardd, ynghyd â'r geiriau, "Eu hiaith a gadwant." Diamheu fod yr oriawr hon wedi bod yn wasanaethgar iawn iddo pan yn hela ar hyd a lled y wlad.

O ran ei ymddangosiad allanol, dyn tàl iawn oedd Daniel Ddu, a chymedrol gadarn yr olwg arno; ac fel y gellir casglu oddiwrth ei ffugenw, du oedd lliw ei wallt a'i farf. Yr oedd ei osgo yn union-syth ac urddasol, a chaiff y darllenydd amcan lled gywir o ffurf ei wynebpryd oddiwrth y darlun ar ddechreu y llyfr. Sylwai y rhai oedd yn bresenol yn Eisteddfod Caerfyrddin yn 1819 ar y gwrthgyferbyniad rhwng yr hen fardd crymedig ag eiddil, Iolo Morganwg, a'r bardd ieuanc, talgryf, hoyw, a bywiog, Daniel Ddu, ar fraich yr hwn y pwysai yr hen Iolo pan gyda'u gilydd ar y llwyfan.

Y mae rhywbeth yn rhamantus yn hanes y darlun hwn o'r Bardd Du, a hwn yw yr unig un sydd ar gael hyd ag y gwyddis. Yr oedd y gwreiddiol ar y dechreu yn mherchenogaeth fy nhadcu, Maesmynach, wedi cael ei anfon iddo gan ei frawd, pan yr oedd yn Rhydychain, ac yr wyf wedi clywed gan fy Mam fod yr hen ŵr yn ei barchu yn fawr. Un diwrnod, daeth Miss Morgan, Ship Inn, Llanbedr, heibio i Faesmynach, a dywedodd wrth fy nhadcu ei bod yn gyfeilligar iawn â'i frawd, y Bardd Du, am mai gyda'i rhieni y lletyai, pan yn ysgol Eliezer Williams. Rhoddodd yr hen ŵr y darlun iddi, heb yn wybod i neb yn y tŷ. Yn mhen blynyddau maith ar ol hyn, daeth gŵr bonheddig ar geffyl i Rydybannau i ofyn am fy Mam, ac ar ol iddynt ymgyfarch, dangosodd iddi ddarlun, a gofynodd iddi a oedd yn ei adnabod; dywedodd hithau ei bod, mai llun ei hewythr, Daniel Ddu, oedd, ac nid bach oedd ei syndod pan y gwelodd ef. Dywedodd y gŵr dieithr mai Ficer Llanbadarn, Sir Faesyfed, oedd, ac iddo ddyfod i feddiant o'r llun ar ol marwolaeth ei chwaer, Miss Morgan. Wedi i fy Mam danysgrifio yn helaeth at y gronfa er ail-adeiladu ei Eglwys, rhoddodd y Parchedig y darlun iddi, a mawr y perchir ef ganddi, ac yr wyf yn gobeithio nad aiff eto ar gyfeiliorn.

Gan fy Mam hefyd mae'r bathodyn arian enillodd y Bardd Du yn Eisteddfod Caerfyrddin, 1823, am ei Awdl ar Fuddugoliaethau Diweddar y Groegiaid ar y Tyrciaid. Bathodyn crwn ydyw, yn mesur tua phedair modfedd ar ei draws, ac ar un ochr iddo yr ysgrifen,—

GWOBRWY CYMDEITHAS DYFED

I

DANIEL DDU CEREDIGION,

C.C.I. RHYDUCHAIN,

AM EI AWDL AR WROLDEB

Y GROEGIAID YN TRECHU Y TWRCIAID,

SEF TESTYN EISTEDDFOD CAERFYRDDIN,

1823.

Yn ei meddiant hi, hefyd, y mae'r cwpan arian a gafodd ei hewythr yn anrheg gan Gymreigyddion Caerfyrddin, 1824. Mae arno yr ysgrif ganlynol,—

ANRHEG CYMREIGYDDION CAERFYRDDIN

I DANIEL DDU O GEREDIGION

AM EI YMDRECHIADAU YN

NGWASANAETH Y GYMDEITHAS,

GWYL DEWI,

1824.

Cafodd Daniel Ddu ei gadeirio, hefyd, yn Eisteddfod Caerfyrddin am ei Awdl ar Sefydliad Coleg Dewi Sant, ond nid oedd yn arferiad yr adeg hono i'r gadair dd'od yn eiddo i'r bardd buddugol, fel yn awr; ni chawsai ond eistedd ynddi am y dydd. Fodd bynag, cafodd y Bardd ariandlws fel cofeb am ei fuddugoliaeth, ac y mae yn awr yn meddiant fy nghyfnither, Mrs. Jones, Cwmere. Ceir arno yr ysgrif,—

GWOBRWY I DANIEL DDU

AM EI AWDL AR SEILIAD

ATHROFA DEWI SANT:

SEF TESTYN EISTEDDFOD CAERFYRDDIN,

1824.

Y mae yr ariandlws a enillodd y Bardd am ei "Gerdd ar y Gauaf," rhoddedig gan Archddiacon Beynon, 1828, yn awr yn meddiant Mr. Thomas Evans, Castell Du. Trwy ryw ddiofalwch, nid yw enw y Bardd wedi ei ysgrifenu ar y tlws hwn.

Cafodd ariandlws arall yn rhodd gan Gymmrodorion Brycheiniog yn 1823. Mae yn awr yn meddiant fy nghefnder, Mr. Evan Jenkins, Faversham, Kent. Mae arno yr ysgrif ganlynol,—

CYMMRODORION BRYCHEINIOG

IDD Y

PARCH. DANIEL EVANS, M.A.,

AM EI AWDL I DY TREDEGAR,

HIL IVOR HAEL,

AM NODDI BEIRDD CYMRU,

1823.

Ar y 6ed o Ebrill, 1824, cynhaliwyd ciniaw cyhoeddus yn Llanbedr, i'r dyben o gyflwyno cwpan arian yn anrheg i Daniel Ddu, fel arwydd o werthfawrogiad o'i athryiith fel bardd. Ar y cwpan ceir yr ysgrif,—

GWOBRWY EI GYD-WLADWYR

I

DANIEL DDU O GEREDIGION

AM EI FUDDUGOLIAETHAU AWENYDDOL

YN EISTEDDFOD DYFED,

1823.

Yn anffodus, mae y cwpan wedi llithro allan o'r teulu. Rhoddodd fy nhaden ef i'w feistr tir, ac yn ol pob tebygolrwydd, y mae yn Castle Hill yn bresenol. Gresyn na allesid ei adferu i feddiant y teulu, neu o leiaf berswadio ei berchenog presenol i'w drosglwyddo i Amgueddfa Coleg y Brif Ysgol, Aberystwyth, neu i Lyfrgell Coleg Dewi Sant.

Mae yn ddigon amlwg beth oedd dymuniad y Bardd ei

hun oddiwrth y ddau englyn canlynol o'r rhai a adroddodd wrth ei dderbyn,—

Y cwpan arian eirioes—a gadwaf
  Yn gudeg trwy'm heinioes;
Dianaf, wedi unoes,
I lawr â drwy lawer oes.

Disgyn y trysor dwysgu—yn arwydd
  I f'wyrion a Chymru
I'r bêr Awen fwyn wenu
Yn dawel ar Ddaniel Ddu.

Rhoddwyd desgrifiad o'r cwpan yn y "Seren" yr adeg hono fel hyn :—" Y cwpan hwn a ddeil haner galwyn, wedi ei oreuro oddifewn, a'i addurno oddiallan â llun y gadair farddonawl ar y naill du, a thelyn Gymreig ar y tu arall, a cheir arno yr ysgrifen,—'Gwobrwy ei gydwladwyr,' &c. Ceir ar y cauad hefyd y ddwy linell yma,—

Da, gwn mai gwell digonedd
Na mwy, o ddiod a medd."

Mae cwpan arian bychan crwn, o eiddo y Bardd yn mherchenogaeth Mr. David Evans, Llysfaen House. Mae *initials* y Bardd arno, a dywedir ei fod wedi ei gael yn wobr am saethu, ond nid wyf yn sicr fod hyny yn ffaith.

Rhaid i mi bellach ddirwyn fy ysgrif i'r terfyn, ar ol ceisio portreadu y Bardd Du mor ffyddlon ag y medrwn, yn ol tystiolaethau mwyaf teilwng o ymddiriedaeth ; ond y mae genyf eto y gorchwyl trist o gyfeirio at ei farwolaeth anamserol ac anisgwyliadwy, drwy ei law ei hun, ar yr 28ain o Fawrth, 1846. Taenodd y newydd am ei farwolaeth gwmwl trist iawn dros gymydogaeth helaeth, a thros feirdd a llenorion Cymru ben bwygilydd. Teimlai llawer fod un o sêr disgleiriaf Awen Cymru wedi diffoddi. Yr oedd ei iechyd wedi ei anmharu pan oedd yn ddyn ieuanc, yr hyn fu yn achos iddo ddychwelyd adref fel y nodais eisioes, a chredaf fod tymhorau o iselder yspryd yn ei flino ; carai unigedd yn ormodol, ac fel y canodd i'w gyfaill Iwan,—

Y mae dannedd mân gan Brudd-der,
  Rai na welir ddim o'u llun,
A ddifethant bob yn 'chydig
  Nerth a gallu enaid dyn.

Difethwyd ei nerth yntau; do, druan,—

> Bu'n glaf dan bwa o glefyd,
> A thrwy y baich aeth o'r byd.

Daeth tyrfa luosog ynghyd ar ddydd ei angladd i dalu iddo y gymwynas olaf. Wrth y drws, yn Maesnewydd, cyn cychwyn am y gladdfa, canwyd ei emyn ef ei hunan, "Un eto wedi'n gadael sydd," &c., gyda theimladau drylliog iawn. Claddwyd ef yn mynwent Pencarreg, gerllaw ei rieni. Y mae maen mawr yn nodi ei orweddfan, ac arno yr englyn canlynol o waith ei anwyl gyfaill, Ioan Tegid,—

> Doniol oedd ef, ein Daniel Ddu,—heb rytyg,
> Un o brif-feirdd Cymru;
> Yn ei fedd mae'r Bardd a fu,—
> Yn y llwch yma'n llechu.

Canodd llawer o feirdd alarebau ar ei ol, ac yn eu plith Iago Emlyn, Gwilym Mai, a Dewi Hefin. Fel hyn y darllena un o englynion Gwilym Mai,—

> Gwelwi mae'r beirdd mewn galar,—y fynwes
> Ruddfana mewn trydar:
> Mae'n friw byth, mae'n fawr y bâr,
> Y Bardd Du dan bridd daear.

A dyma un o'r englynion ganodd Dewi,—

> Y doniawl ddoeth Daniel Ddu—o sŵn byd
> Sy'n y bedd yn llechu:
> Ond mae trydan ei gân gu
> A'i gamrau trwy holl Gymru.

Cynygiwyd gwobr anrhydeddus yn Eisteddfod Llanbedr, Alban Hefin, 1859, am awdl goffadwriaethol iddo, a dyfarnodd Eben Fardd awdl "Teimlad," sef J. M. Jones, Rhydlewis, yn oreu; "a gresyn," meddai, "na fuasai agos yr un faint o wobr i Ceredig," sef D. L. Moses, Brynaman. Am y cystadleuydd arall, "Emrys," sef Gwilym Gwenog, dywedai y beirniad fel hyn,—"Awdl fechan dda iawn, hynod o gryno a thlws, nid oes genyf ddim yn ei herbyn ond ei byrdra." Mae yr awdl fuddugol wedi ei hargraffu gyda chyfansoddiadau buddugol eraill yr Eisteddfod, ac y mae yn gryn nodweddiadol o'r Bardd Du, ac un oedd efe a deilyngai goffadwriaeth barchus: cafodd ddoniau godidog, a gwnaeth

ddefnydd priodol o honynt. Canodd lawer, a chanodd yn gelfydd, a thrueni i'w Awen bêr ddistewi mor fuan. Mae ei enw yn air teuluaidd hyd aelwydydd ein gwlad, a darllenir ei waith gyda hyfrydwch mawr, ac yr wyf yn teimlo yn hyderus y darllenir ef eto, gan fod y trydydd argraffiad o'r "Winllan" wedi cael y fath dderbyniad gwresog.

Ysgrifenodd fy Mam lythyr at Ioan Cunllo, ar ol yr Eisteddfod, i'w longyfarch ar ei lwyddiant, ac i ddiolch iddo am y deyrnged o barch i goffadwriaeth ei hewythr, Daniel Ddu. Wele ei atebiad,—

RHYDLEWIS,
NEWCASTLE EMLYN,
*Boreu Dydd Llun,*
*Mehefin 27, 1859.*

ANWYL MRS. JENKINS,

Derbyniais eich llythyr caredig, a chredwch fi fy mod yn falch iawn ei gael. Y mae mor llawn o deimlad cyffrous, fel y gorfu imi ymollwng i ddagrau cyn ei ddarllen i gyd. Yr wyf yn sicr i chwi fod derbyn y cyfarchiad hwn oddiwrth deulu un a garwn gymmaint, ac a barchwn braidd yn fwy na neb arall ; a chôf yr hwn a fydd fyth yn gyssegredig yn fy mynwes, yn llawer mwy o werth yn fy ngolwg na'r wobr.

Yr oedd rhyw euogrwydd yn fy nghydwybod trwy yr holl flynyddau na buaswn wedi gwneyd rhywbeth ar ol fy hen gyfaill hoff, ond oedi a methu boddio fy hun yr oeddwn. Pan welais gynyg y wobr, teimlais yn fwy euog, a chyffrodd hyn fi i frwdfrydedd, a phenderfynais wneyd fy ngoreu ; ond ni freuddwydiais ymgeisio am y wobr hyd tufewn i bythefnos i'r amser i ddanfon i mewn. Nid oedd y wobr ynddi ei hun yn un brofedigaeth imi. Fy unig awydd oedd rhyddhau fy hun o'r ddyled ag y teimlwn oedd arnaf i goffadwriaeth fy fyth anwyl Ddaniel Ddu. Yn wir, gwybyddus yw, na cheisiais wobr na chlod, ac na ymdrechais hynodi fy hun fel bardd erioed, a'r testyn presenol yn unig a allasai fy nghynyrfu i ymdrech, a da dros ben yw genyf fy mod gwedi llwyddo tu hwnt i'm disgwyliad. Yr wyf yn hyderus, pan welwch yr awdl, y bydd yn foddhaol mor bell ag yw, i deulu fy hen gyfaill clodfawr. Cyfansoddais hi dan lawer o anfanteision o ran amser a hamdden. Buasai yn hyfryd genyf gael gweled un o waed coch cyfan Daniel Ddu yn Llanbedr, pe gwnaethech eich hun yn adnabyddus. Derbyniwch fy nghofion mwyaf serchog, a gwnewch imi y gymwynas o roi yr unrhyw i'r holl deulu. Gobeithio y cawn eto gwrdd â'n gilydd rywbryd.

Yr eiddoch yn ffyddlawn,

JNO. M. JONES.

O.Y.—Dychymygaf fod rhan anfarwol ein trancedig gyfaill yn edrych lawr gyda boddhad ar ei hen ddisgybl yn ennill ar ei Farwnad.

Gwedi imi ysgrifenu y *note*, sisialodd yr awen wrthyf fel hyn,—

Oes hir, hir, mewn cysur iach,—heibio i bawb,
I bob un o'i linach;
Y nef hyd y nawfed âch
A weno ar Faesmynach.

Pob bendith i'w nith o'r ne',—a'r ddaear,
O! Dduw, tra yn drigle,
I un o'i lîn anwyl e',
Di boen fo Rhydybenne.

CUNLLO.

Gyda hyn sychaf finau fy ysgrifbin, gan erfyn yn ostyngedig ar i'r darllenydd hynaws edrych yn drugarog ar ffaeleddau yr ysgrif, a maddeu i mi os y cedwais ormod o'i amser gyda phethau sydd, o bosibl iddo ef, yn ymddangos yn ddibwys, ond ydynt i mi o'r dyddordeb mwyaf. Terfynaf trwy goffa englyn arall o waith fy hen ffrynd, Dewi Hefin,—

Tra bo dail, tra bo dolydd,—tra bo maen,
Tra bo môr a mynydd,
Tra Chymraeg, tra Chymreigydd,
Ei glod a'i fawl drwy'n gwlad fydd.

ELIZABETH MORGAN.

O.Y.—Dymunaf yn y fan yma gyfleu fy niolchgarwch gwresocaf i bawb sydd wedi bod o gynhorthwy i mi yn fy anturiaeth o ddwyn allan yr argraffiad hwn o'r "Winllan." Yr holiadau parhaus a wnaed am y llyfr gan feirdd a llenorion Cymru atom fel teulu, ynghyd â'r awyddfryd i gadw gweithiau ein hen gâr talentog rhag myned i ebargofiant, a'n cymhellodd at y gwaith. Yn benaf, dymunaf gydnabod y Parch. J. Islan Jones am olygu; y Parch. G. Eyre Evans am fenthyg y *block* o ddarlun yr Awdwr a ddefnyddiai efe yn "Lampeter"; Mr. J. Hefin Thomas am y darluniau; ac yn ddiweddaf, ond nid y lleiaf, Mr. B. Morris am olygu y gwaith yn y Swyddfa.—*E.M.*

# ACHRESTRI.

David Evans, Maesmynach — Sarah Evans
(1751–1838) | (1757–1839)

(*a*) Evan — (*b*) Thomas — (*c*) Daniel [Daniel Ddu] (1792–1846) — (*d*) Mary

## TEULU MAESMYNACH.

(*a*) Evan Evans | Sarah Jones, Cwmere
(1786–1866) | (1789–1876)

(1) Martha — (2) Sarah — (3) Rachel — (4) David (1829–1850) — (5) John — (6) Eliza — (7) Daniel (1835–1870) — (8) Evan — (9) Anne

(1) *Martha*—*Evan Evans*, Tynberth

*Sarah* — *Evan*—*Margaret*, Blaenllanarth — John, Clyngwyn — *Daniel* — *Thomas* — Eleanor—*Daniel Davies*, Tangraig (1851–1882) — David—Sarah Evans, Ffrwdbwyad Arms — Rees (1853–1878) — Jenkin,—M.A. Evans Penwern

Children of Eleanor and Daniel Davies: Sarah, Mrs. Davies, Fronddu; Evan (1876–1905); *Martha*

Children of Jenkin and M.A. Evans: Anne; Evan John

(2) Sarah—John Jenkins, Rhydybannau
(1815—1888)

Sarah—David Davies, Ffeilau
- Evan Walter, N.P. Bank, Bristol
- John Jenkin, Blaenwaun, Cellan
- David Price (18[illegible]—1905), Royal Oak Hotel
- Thomas Llewellyn, N.P. Bank, Brecon
- Mary Emma, Mrs. Davies, Llwynivan

Jenkin—Ada Fowler, [illegible]
- Sarah Ethel (18[illegible]—18[illegible])
- Gwladys—Rev. Sydney Thomas
  - Stanley

Evan (1849—1891)

Dinah (1851—[illegible])—James Evans, [illegible] (18[illegible]—18[illegible])
- Sarah, Mrs. Jones, Cwmmynach
- Jane, Mrs. Capt. Jones, Cribin
- John, Calgary, Canada
- James Rhys, N.P. Bank, Wrexham

*Anne*

John Daniel (18[illegible]—1[illegible]), [illegible]
- Sarah
- Mary Anne
- John
- Jane
- Dinah

Jane Davies, [illegible]

Eliza—David Morgan, [illegible]
- Evan
- John

(3) Rachel—Walter Jenkins, Glanwern
(1820—1902) (1824—1889)
- Thomas (1846—1872)

(5) John, Cwmere—Rachel Hughes, Tyngwndwn
(1831—1904)

Margaret—Dd. Evans, Mynach Arms
- Rachel
- Martha
- John
- Catherine
- David Thomas

Sarah—Dd. Thomas Evans, Ynys-fel-N
- John
- Kate
- Rachel
- Maggie
- Sarah Anne
- Gwladys
- Evan

(6) Eliza—Daniel Jenkins (Clyndu), Glanwern
(1827—1903)

- Evan,—Clara Jones, Faversham
- Jenkin,—Susan Jones, Glanwern
  - Daniel Ceiriog
- Sarah—D. Saunders-Davies, Felinfach
  - William
  - Anne
  - Daniel
  - Eliza
  - Gwladys
- Dinah—Walter Davies, C.C., Pontmarchog
  - Daniel
  - Anne
  - Peter
  - Jenkin (1891—1900)
  - Evan
  - David John
- Daniel—Susan
  - Elizabeth
- Walter

(8) Evan—Anne Jones, Hendryd
(1839—1904)

- Thomas—Elizabeth Davies, Lowtre
  - Elizabeth
  - Evan Daniel
- Sarah
- Mary Anne—William Jenkins, Glynmeherin
  - Tom
  - David
  - Kate
  - *Sarah*
  - Eliza
- Eliza
- Rachel
- Evan—Jane Marsden, Rhydybannau
- Daniel

(9) Anne—Thomas Evans, Tynant
(1841—1901)

- Evan, Dr. Evans, Aeron Villa
- Margaret—J. Jones, J.P., Cwmere
  - Timothy
  - Rachel
  - Thomas
  - Jemima
  - Walter
  - David
  - Anne
  - John William
  - Evan Daniel
  - Jenkin Stephen
- Jenkin (1866—1902)
- Lewis, Tynant,—M. H. Jones, Pontfaen
  - Hannah Aerona
  - Anne Mary
  - Margaret Jane
- Sarah—Capt. John Davies, Parc
  - Thomas Lewis
  - Anne Jane
  - Evan Daniel
- Tom, Dr. Tom Evans, Croydon
- Rachel—Dd. Lloyd, Penybont
- Eliza
- Mary Anne—John Davies, Crugywheel
  - David Evan
  - Anne
- *Daniel*
- Jane
- Emma

# TEULU LLYSFAEN

(A) **Thomas Evans—Esther Evans, Nantygelli**
(1789—1857)

- (1) **John**
- (2) David — Rev. David Evans (1816—1850)
- (3) **Evan**

(1) John Evans, Nantygelli—Anne Morris, Scalford
(1814—1885) (1817—1888)

- *John*
- *Esther*
- Anne—Evan Jones, Aberayron (1846—(1885)
  (1844—1890)
  - Mary Anne
  - Eliza Jane
  - Hettie Sarah
  - John Morris
  - Lydia Ellen
- Mary (1846—1869)
- John—Elizabeth Edwards, Plâs
  (1847—1888)
  - John (Nantygelli House)
  - Agnes

- Eliza—James Williams, Dihewyd
  - Anne
  - William
  - Mary
  - Elizabeth
  - *Jane*
  - Lydia
  - *John*
  - *Thomas*
- Esther,—George Thomas
  Kilburn, London
  - Emily Anne
- Jane—Rees Thomas, Maesllan
- Sarah—Wm. Jones, Abernant (1848—1904)
  - John Owen
  - *Anne Mary*
  - William Daniel
  - Anne Mary
  - Lettice Ellen
- Lydia—J. J. Jones, Aberayron, (1861—1894)
  - Anne Mary
  - Elizabeth Ellen
- Ellen, Kilburn, London

(3) Evan Evans, Llysfaen—Margaret Jones, Brynyreglwys
(1818—1872) (1825—1896)

- David,—Rachel Davies, Crugwheel
  Llysfaen House
  - Margaret
  - David
- Esther—Rev. T. Thomas, J.P., Green Park
  - Margarettta—Dr. Jones, Llanybyther
    - Elizabeth Jane May
    - Dorothy Aileen
- Thomas,—Mary Thomas, Caeglas
  Castell-du
  - Evan Daniel (1882—1885)
  - Jane
- Eliza—Evan Felix, Crug-garn

## TEULU NANTGWYNFYNYDD-ISAF.

(*d*) Mary Evans—Lewis Lewis
(1794—1823) | (1788—1861)

| | | |
|---|---|---|
| Sarah—Thomas Thomas, Drefach<br>(1813—1859) | David—Anne, Pentrefelin | John<br>(1819—1828) |
| Mary<br>(1849—1865)<br>John<br>(1852—1871) | Jane<br>Rachel<br>Eliza<br>John | |

Italaidd—wedi marw.

# Y CYNNWYSIAD.

---

## ENGLISH PIECES.



## YCHWANEGIAD.

BEDD-ARGRAFFIADAU.



ENGLISH AND LATIN PIECES.

# GWINLLAN Y BARDD.

## AWDL

### AR SEFYDLIAD COLEG DEWI SANT,

YN AGOS I LANBEDR, CEREDIGION,

Yr hon a ennillodd y Gadair yn Eisteddfod Dyfed, 1823.

---

CYNNWYSIAD.

GOLWG ar ddyddiau gogoneddus CYMRU, pan y blodeuai y Colegau hyglod—Bangor, Caerlleon, Mynyw, &c., a phan y gallasai hi ymffrostio yn ei Dyfrig, Illtyd, Dewi, Asser, Sulien, Rhyddmarch, &c.—Ystyriaeth ar ei gorthrymderau canlynol—Ail fore disglaer yn codi—COLEG DEWI yn codi ei ben hyfrydwedd—CYMRU yn cael ei hannerch ar yr achos gogoneddus—Ail Asser, ail Ddewi, ail Sulien, &c., ar ymddangos—Y Celfyddydau a'r Gwybodau yn ymlawenhau—Yr AWEN yn gorfoleddu yn ei nerth adnewyddedig—Ail GRONWY OWEN i'w ddisgwyl—Ieuenctyd Cymru ddim yn hwy o dan yr angenrheidrwydd o gyrchu tua gwledydd estronol am addysg—Annerch i WYBODAETH, gydag ymgais i ddarlunio ei gwerthfawrogrwydd—Yr amgylchiadau perthynol i'r dydd y gosodwyd sylfaen COLEG DEWI yn cael eu darlunio—Cenhedlaethau i ddyfod, yn debygol o hwylio y gân gyda mwy o

wresogrwydd i'r Adeilad pan y bo ei effeithiau yn cael eu teimlo—Y Brenin, Esgob Ty-Ddewi, ac ereill, a fuont fwyaf offerynol i ddwyn y'mlaen y Coleg hwn, yn cael eu coffâu yn barchus, fel carwyr ac amgeleddwyr y Cymry—Erfyniad ar Reolwr mawr holl anian i fendithio'r Adeilad, a'i wneuthur yn foddion dedwyddwch presennol a thragywyddol i Genedl y Cymry.



## AN OUTLINE OF THE POEM.

CAMBRIA'S glorious days reviewed, when the celebrated Colleges of Caerlleon, Bangor, Menevia, &c., flourished, and when she could boast of her Dyfrig, Illtyd, Saint David, Asser, Sulien, &c.—Her subsequent disasters briefly noticed —A second bright morn dawning and the clouds dispersing—SAINT DAVID'S COLLEGE rearing its lovely head.—CAMBRIA congratulated on the mighty occasion—Other Assers, other Suliens, about to arise—The Arts and Sciences rejoicing—The humble AWEN exulting in her renovated strength—The Youth of the principality no longer under the necessity of repairing to distant soils for mental improvement—An Address to KNOWLEDGE, with an attempt to describe her advantages—The circumstances attending the memorable day on which the first stone of ST. DAVID'S COLLEGE was laid, recorded—Posterity likely to awake the song in praise of this noble Institution, in higher and loftier strains, when its advantages are felt—The King, the Bishop of St. David's, and others that were most instrumental in the erection of ST. DAVID'S COLLEGE, gratefully acknowledged as the benefactors and friends of Cambria—An invocation to the great Ruler of all things, to bless this Edifice, and to render it the means of present and future happiness to the nation of the Cymry.

# AWDL.

---

Awen wrawl Aneurin,
Ferch hwylus, felus dy fin,
O dere'n nawdd,—dyro nerth
A doniau i un dinerth,
A annerchai, iawn orchwyl,
Gymru dêg mewn hardd-deg hwyl.

Oriau a dyddiau diddig,
Hefyd troion duon dig,—
Cymmysgedd o hedd a hyll
Oerchwith derfysgoedd erchyll;
Dyna hen Walia wiwlwys,
Fu'th ran, fy ngwlad ddifrad ddwys.

O llwydwyd gan drallodion,
A llawer du hell arw dòn
Dy wyneb—oeddid unwaith
Hardd dy wedd mewn mawredd maith.

Gwelaist it' gynt Ysgolion
Mirain, syw, mawr iawn eu sôn,

---

Y Sylw-nodau a welir yn Saesneg wrth yr Awdl hon, a osodwyd yn Gymraeg ar ddiwedd yr Awdl, er boddhau y Cymro uniaith; a hawdd fydd iddo gyfeirio at yr un ofynol trwy graffu ar y lythyren o flaen y sylw-nodau Saesneg, canys, ymddengys yr un lythyren o flaen y rhai Cymraeg, er gwneyd y ffordd yn rhwydd.

A dynion heirdd eu doniau,
Dy glod yn hynod fawrhau.

Gwelaist hardd-ddrych a llewych Caerlleon[a]
Bangor,[b] Menefia,[c], lân Athrafäon,
I'r holl fyd, er iawn wynfyd, yn anfon
Hybarch a thrwyadl burwych Athrawon,
Yn eu hoes fu i'r Seison—yn addas,
Wiw hygar urddas, ac i'r Iwerddon.

Dere'n nes i'r fynwes fau,
Anwylaf Awen olau,
A dinam enwa'r dynion
Fu i'n gwlad yn llad mor llon.

---

a *Caerlleon-on-the-Usk*, where, about the beginning of the fifth century, a famous College was founded, which, under the presidency of Dyfrig, mightily flourished. Hither the sons of the Princes of Cambria resorted to receive instruction in the Arts and Sciences. It is said, that this College, at one time, contained no less than a thousand of the youth of Gwent, and other parts of Wales.

b *Bangor.*—Not the Bangor which now exists, but *Bangor-is-y-coed*, in Flintshire, about twelve miles from Chester, on the river Dee,—once a very large and renowned Monastery and place of learning. It had 2400 students. Caerlleon-on-the-Usk and Bangor-is-y-coed were, at one time, by far the most celebrated places of education in this Island.

c *Menevia*—in Welsh, Mynyw, or, as it is now commonly called, Ty-Ddewi, was, for several hundred years, as a place of religious and useful instruction, the glory and boast of Cambria.

Illtyd[d] i'r byd gwybodawl
Fu'n seren geinwen ei gwawl;
Hwn â'i ddawn roes yn ei ddydd
I Forganwg fawr gynnydd:
Dyfrig[e] ac ef fel deufrawd,
I hoff Went fu'n orhoyw ffawd;
Cannoedd ar gannoedd wnai'r gwyr
O ddwys gedyrn ddysgawdwyr.

Dwfn ieithyddion,
Sywedyddion,
Duwinyddion dïen oeddynt,—
Dysgedigion
Amrywiolion,
Hyddoeth ddynion, ddaeth o honynt.

---

d *Illtyd* was the Preceptor of Gildas and St. David. He was appointed a Teacher of Divinity and Philosophy by Garmon. See the following note.

e *Dyfrig.*—About the year 430, Garmon and Lupus, two Bishops, were sent over to Britain, by the Gallican Church, to suppress the Pelagian Heresy, which was raging in this Island. They laboured incessantly in the great work to which they were commissioned, and previously to their quitting this country, they erected many Colleges and Schools, to instruct the British Youth in the Christian Religion, Philosophy, and the Arts and Sciences. Such as possessed the most eminent qualifications for the task were, of course, appointed to superintend these Seminaries,—and *Dyfrig*, as a man of great talent and learning, was entrusted with the management of the College at Caerlleon.

Pur a mwyn y pery mawl
Dunod,[f] y gwron doniawl,
Yn g'oedd a wrthsefai'n gain
Rhyfyg Awstin a Rhufain.

A adawaf, O Dewi,[g]
Yn ol dy enw dethol di?
Addurn i Gymru oeddyd,
Saif dy go' tra byddo byd.

Pa wr gwych fu'n llewych llon,
Ac urddas têg y Werddon?
Padrig[h] Fendigedig oedd,
Wr odiaeth, CYMRO ydoedd.

---

*f Dunawd* was Abbot of Bangor-is-y-coed, and is famous for the opposition which he made to Augustine the Monk, when he first attempted to subvert the independency of the British Church, and to make it subservient to the Pope of Rome, his master,—in the seventh century.

*g Dewi.*—The name of Dewi, or St. David's, is too well known to need any comment.

*h Patrick*, the celebrted Saint of the Irish, was a member of the College of Illtyd, before he was carried away captive to Ireland. It is believed that he returned from his captivity in the Sister Island, and that he afterwards voluntarily went over to instruct the inhabitants of that country in the principles of the Christian Faith.

Hir oesoedd cofir Asser,[i]
Sulien, Rhyddmarch,[j] mewn parch pêr,—
Tri a wyddent wir addysg,
Holl feithder a dyfnder dysg:
Y byd i gyd (pwy na'i gŵyr?)
A soniai am eu synwyr.

E ballodd, Gymru, bellach,
Cynnes wên ac einioes iach,—
Darfu ynot bob dirfawr
Allu a nerth, a mon wawr!
Dy Ysgolion, gwychion gynt,
Nodedig,—mwy nid ydynt!
Llid a brad yn lledu'u broch,
Ac udgyrn gâlon gwaedgoch,

---

*i Asser*,—a Monk of St. David's, a man that, in his day, astonished the world with his learning. It is a fact—and every Welshman will with pride remember the fact, that, great and extensive as is the fame of Oxford, at present, for its learning, it was a Welshman that first guided the studies of the youth that resorted to it for instruction. King Alfred, when, founding the first College at Oxford, sent for Asser, and was so highly delighted with his society, that he pressingly invited him to live at the Royal Palace. The King made him Bishop of Sherborne; and, had Asser been inclined to relinquish his situation in Wales, he might have obtained any dignity or preferment he pleased. Our countryman, however, preferred enjoying the society of his friends in Wales, and could only be prevailed upon to visit the King, and to superintend the College at Oxford, one half of the year.

*j Sulien, Rhyddmarch.*—Sulien the Wise was consecrated Bishop of St. David's about the year 1070. He twice or

A rwygent dy dir hoywgu,
Mor gain—mor firain a fu.
Dinasoedd a lleoedd llon
Dinystriwyd gan dân estron:—
Gwelwyd d' Ysgolion gwiwlan
Yn walau meirch, neu'n ulw mân;
A'th lyfrau (miloedd oeddynt)
Yn fflamiau yn gwau'n y gwynt!

Hen Gymru "a fu, a fydd"—fy nghysur,
Fy nghais gan Dduw beunydd
Yw gwiwnerth a llon gynnydd
I ti, fy ngwlad rwyddfad rydd.

D'wediad hynod. ydwyd hanner—fy mod,
Fy madien Fam dyner;
Gwn na fynnwn gan Fyw-Ner
Hebot ti, o'm bywyd têr.

Iachuswaith im', ar bob da achosion,
Yw dy annerch, fy ngoreuwlad union,—

---

thrice, from a love of retirement, resigned the care of the See of St. David's, and as often undertook it again at the pressing solicitation of those who saw that no one but he could be found to fill the Episcopal Chair, with sufficient authority and dignity.

*Rhyddmarch*, was son of *Sulien the Wise*. He and his father were highly distinguished for their wisdom and learning. An eminent writer says of Rhyddmarch, that "after him there was an end of instruction for disciples at St. David's." He was Bishop of St. David's, and died in the year 1093.

Gweled dy faesydd heb ol traed gâlon
Mwyach arnynt,—ond mewn helynt hylon
Gweled dy lân drigolion—yn mwynhau
Hedd ar dy fryniau golau a gwiwlon.

Dios mae achos uchel—yr awron
Am beroriaeth angel
I frwd wau it', fro dawel,
Odlau ac emynau mêl.

O'r llwch a'r tristwch trwstan,—dy olwg
Cwyd, Walia fach, weithian,
A gwel Goleg, rwydd-deg ràn,
Hynod, i ti dy hunan.

Gwalia lân, gwel ail einioes,—ail urddas,
Ac ail harddwch eirioes,—
Gwiwlwydd, yn ol dig waywloes,
Oriau o lid, a hir loes.

Haul addysg, er hoyw lwyddiant,—a gododd
Gyda mawr ogoniant:
Cymmylau 'n ugeiniau gànt
O'r golwg draw a giliant.

O'r newydd dy ddolydd a hardd ddeiliant,
Dy rewllyd fryniau, diau blodeuant,—
Y mannau oedd anial mwyndda wenant
Mewn gwenwisg firain o gain ogoniant,—
Y llwyni hoff llawenhânt,—mêl peraidd
Ar dwf iraidd y ddaear diferant.

Gwybodaeth yn eirian ymlydanu
Yn ddiattal a welir o ddeutu,—
Doniau addas yn glân adnewyddu,—
Yn lle archoll, ein gwlad yn llewyrchu,—
Lles dyn beunydd yn cynnyddu—'n nerthol,
A mawl ethol ei Dduw'n ymhelaethu.

Mewn pwyll, yn ddidwyll, y celfyddydau
Yng Nghymru chwilir—gelwir i'r golau
A fu yn y byd o fwyn wybodau:—
Ceir hanesion cywir o hen oesau:—
Yr ieithoedd olrheinir hwythau—o'r bron,
Trwy'u manylion a thynion wythenau.

Cyfyd mawrion ddynion, yn ddywenydd
I'n gwlad groywfwyn, ac yn glod i grefydd:
Daw ail Ddewi â g'leuni i'n glennydd,
A llifeiriant o ddawn a lleferydd,—
Ail Asser ddwysber, ryw ddydd—ail Sulien,
I'n bost di-orphen, yn byst y wirffydd.

Dyrchafa dithau o gaerau'r gweryd
Dy ben, glaf Awen, a gwel ail-fywyd:—
Darfu'r gauaf,—wele haf a hoywfyd
A da wych haulwen etto'n dychwelyd:
Yn ddïau yma'n ddiwyd,—beirddion gànt
A iawn alwant ar yr hen Anwylyd.

A dywed, O wiwfad Awen—gulon,
B'le gweli, îs wybren,
Well lle i fyw yn llawen
Na glàn Teifi wisgi wèn?

Maesydd a dolydd pêr deiliog,—cannaid,
Cei yno'n ardderchog;
Creigiau uwch ben, carregog,
Ac Anian mewn glwyslan glôg.

Llais yr adar gwâr o'r gwŷdd,—a llafar
Llif yr afon wiwrydd,
Yn dy fron dirion, bob dydd,
A gynneua gân newydd.

Pwy yw'r bachgenyn tlws, croenwyn, cryno,
Draw'n y goedwig lasfrig, uwch y lwysfro,
Weithiau'n glaf a welaf, fel yn wylo,
Ac weithiau'n hoenus a nwydus neidio?
Wiw fab, rhyw ORONWY[k] yw fo,—a'i ben
Gan wres yr awen bridwen yn brydio.

Ar fyr i'r golau daw perlau purlan
Iaith ein tadau, a'i thrysorau seirian:—
Wrth ein drysau y mae'r dyddiau diddan,—
Llawenyched, hardd dywyned Anian!
O! oriau hyfryd eirian,—cawn ganfod
Yr iaith hynod yn ei nerth ei hunan.

Ni raid mwyach gydag afiach gofion,
Wèn Walia, i'th dirionblant anwylion

---

k Here the Poet fancies that he sees a second Goronwy Owen ranging among the woods on the banks of the Tivy enraptured with the sweets of the heavenly Awen.

Am wiwdda oleu i eu meddylion
Droi'n ofidus i rwystrus dir estron,
A hiraeth yn eu hoerion—ddwyfronau,
Draw o fryniau eu tadau'n alltudion.

Yn eu bro gynnenid, bêr gain annedd,
Wiwfad orhynaws breswylfod Rhinwedd,
Cânt brofi ffrwythau têg lysiau glwyswedd
GWYBODAETH wiwlon hyd eu digonedd,
A'i hoywrin pur i'w harwedd—mewn iawn hwyl
I dêr gaerau anwyl Duw'r gwirionedd.

Gwybodaeth! bywfaeth y byd,
Geinferch, ti ffynon gwynfyd,
O! laned, decced dy wedd,
Dra hynaws Fun dirionwedd:
Hebot nid oes neb hybarch,—
Tydi sydd yn peri parch,—
Rhwyddwych a mwyn y rhoddi
Wawr y nef i'n daear ni:
I'r enaid, O! mor anwyl
Wyt ti, lle y cadwot ŵyl;—
Lle deui try llwyd auaf,
Newynllyd yn hyfryd haf.

Em wych, yr wyt ti' mhob man,
Gyfeilles guaf[1] allan,—

---

1 Cicero says that "Learning is a solace *abroad* and a delight at *home*."

Ac yn y tŷ gweini tes
O fewn a wnai i'r fynwes.
Nid oes trallod na thlodi,
Na gwae tost lle trigot ti,—
A thi gennyf ffraeth ganwn
Dan dristyd y byd a'i bwn.
Anialwch a'i ddu niwlen,
Euraidd waith, droi di'n ardd wèn,—
Gu wawl, a phan ymgili,
Try'n ddiffrwyth ei hardd-ffrwyth hi.
Pa beth yw dâ (culdra caeth)
Y bydoedd heb Wybodaeth?
Gwinoedd a mêl sydd gennyd
Yn ffrydiau'n amlhâu o hyd:
Aur India, oreu randir,
Gemmau cain y Dwyrain dir—
Salwedd ŷnt oll i'w sylwi
Yn dy harddfflwch degwch di.

Os mynni gael, was mwynwych,—gwir olud
Goreulan a harddwych,
Cu iesin waith, cais yn wych
Oleuni Addysg lonwych.

Er gwaetha'r byd gwammal a'i ofalon,
Ac erchyll ruthrau'i donnau cyndynion,
Dyma'r hoff anwyl dwym oreu ffynnon
A rŷ'n olynol siriol gysuron :—
Gwin i'w yfed gei'n afon—lifeiriawl
Yma fythawl, a phob dinam foethion.

Wybodaeth! er mwynfaeth myrdd,
Gwna dy drigfan wiwlan werdd

Yn ein Coleg hoywdeg hardd,—
Na ffo, tra bo byd, i ffwrdd.

Clod anwyldeg,
Ar bob adeg,
I'r iawn Goleg rho'wn o galon,—
Mae'n uchelfri,
A mawrhydi,
A goleuni Gwalia union.

Diwael o hyd y blodeuo—'n lanwych
Lawenydd i'r Cymro;
Pur hoywedd y parhäo
Tra mynydd, bronydd, a bro.

Goleg odiaeth, gŵyl[m] a gadwn
It', a byddwn ynot buddiol;
Am ein gwiwfaeth mwyn ni gofiwn,—
Naf a garwn yn fwy gwrol;—

Ei fawl canwn
A dadseiniwn,—
Iddo dygwn haeddedigol
Glod,—a rhodiwn,
Milwriaethwn,
Uniawn deithiwn i'n Iôn dethol.

Cofiaf y dydd, mwynddydd mâd,
Sywdeg, y bu gosodiad

---

m An allusion is here made to the Anniversary of St. David's College.

Dy faen-sylfaen—maen glwys mawr,
Têr iesin a llawn trysawr.
Deuai, mewn gynau duon,
At y garreg hardd-deg hon,
Yn lân o offeiriaid lu, —
Tonnawg fôr fyddai'n tynnu
Ar eu hol o wyr hoywion,
A lliw pob wyneb yn llon.

Yr Esgob yn wir wisgi
Y garreg (hoffdeg oedd hi)
Curai â morthwyl cywrain
A siriol y swynol sain,—
Llonwych wedd, pob llaw yn chwai
Y da lanwaith dilynai.
Ar Dduw bu taer weddïo
Am ei gymmorth ëorth o,—
Am ei rad ar yr Adail,
Ei serch ar yr hyfryd sail.

Yn addas un a waeddodd
Mewn diddanus felus fodd,
" Y garreg hon nes gwawrio
Diw" barn heb syflyd y bo."

Tair bonllef hyd y nefoedd—
(Aneirif lu a wnai'r floedd)
A roddwyd, yn arwyddion
O wiraf wres pob rhyw fron.

---

n Dydd.

Dydd hyfrydwch
Oedd, ac elwch,
A diddanwch—dydd o wênau,
Ddaeth â llewych
Haul goleuwych
Yn fireinwych i'n hen fryniau.

Tòr allan mewn cân dêg gynnes,—Llanbedr,
Yn llawenbur eres,—
Ti wyt hylwydd Arglwyddes
Trefi'n gwlad, eu llad a'u lles.

Rhyw Angel purwyn ar dyn adenydd
Heded i'r nefol ragorol gaerydd,
Ac yno myneged mor llwyr ddedwydd
Yn ei bri yw hen Lanbedr a'i bröydd,—
*Un* galon dirion derydd— o leia'
A gynnar lonna gan wir lawenydd.

Eliezer Williams lwyswedd—lenwir
O lanaf orfoledd,
Wrth glywed geined yw gwedd,
Hoen iawnwych, ei hen annedd.

Canu yr ŷm ni acenion—gwaelaidd
It', Goleg, yr awrhon,—
Cei gân well, ddi-dywell dôn,
Yn wiwrwydd gan ein ŵyrion.

Canant pan welant yn wiwlwys—eu gwlad
Yn glydwen Baradwys,

A gwawl addysg oleuddwys
Yn lledu o ddeutu'n ddwys:—

Canant bereiddfawl cynnes,—anwylwiw,
Pan welant, er mawrlles,
Eu bro wâr mewn bri eres,—
Yr hen dud yn eirian dês.

Pwy biau o'n genau'r gân
Dêg am ein COLEG gwiwlan?
Pa ryw Ynad dwysfad da,
Droes ei olwg dros Walia,
Ac a welodd mai caled
Ei chyflwr? pwy'r gwr roi'i gêd,
I iach wellhâu archoll hon,
A diwallu ei deillion
Blant? Y da Sant, dewis yw,
Burgess° ein hyles hael-lyw.
Twr yw i'n mâd dirfwlad dêr,—
Haul a gem i hil Gomer:
Un hoywffur yw sy'n hoffi
Geiriau ein iaith gywrain ni;—
Ein addurn yw a'n noddwr,—
CYMRO'n ei *galon* yw'r gwr.

Bywiogwych lân Ben-bugail,
A gâr ddedwyddwch ei gail.

---

° Dr. T. Burgess, the late learned and worthy Bishop of St. David's.

Ydyw ef,—a cha'i ddefaid
Yn rhwydd bob porthiant i'w rhaid.

I'n mysg, er ein dysg, pan daeth,
Gwiwbur wr, i'w Esgobaeth,
Yn ddioed o'i fawr ddeall
Canfuodd,—gwelodd ein gwall;—
Gwelodd fod holl Ysgolion
Y fro syw fu fawr eu sôn,
Wedi cyfan ddiflannu
O ŵydd ein gwlad geinfad gu.

Oreu Pôr, yn uniongyrch darparodd
Eli i'n holl wyniau 'n hael iawn,—lluniodd
Gymdeithas[p] lew addas,—(un a lwyddodd
Yn arbenig trwy'r nawdd a dderbyniodd)
I ddwyn y'mla'n fwynlan fodd,—heb oerni
Na seguri yr achos a garodd.

Coleg i'r Cymry culion!—y geiriau
Rhagorol yn union
A ddaeth i glyw ein Llyw[q] llon,
Hygaraf a fedd goron.

Anfonai rodd yn fwyn rad—i gynnal
Y teg iawnwaith mwynfad;

---

*p* The Society for promoting Christian Knowledge and Church Union, was instituted by the late Bishop of St. David's soon after his Lordship came to that Diocese.

*q* Our late Most Gracious Sovereign King George the Fourth, with that liberality for which the whole tenor of his

Nôd goreu, neud[r] o'i gariad
Union glew i ni a'n gwlad.

Ar Harford[s] yr hir orphwys
Tra Cymru'n bod wiw glod glwys;—
I'r tŷ mad, o'i gariad gwir,
Rasol-dad, *fe* roes seildir, —
Ac o arian cu yrrodd
Yn fuan oreulan rodd.

Beynon,[t] i tithau beunydd
Yn ddidawl gwir fawl a fydd,—
Rhiwiogwych fu'th anrhegion,
Da frawd, a thwym fu dy fron.

Wiwdda wr, Jones[u] o'r Dderi,
Mae'n barod dewrglod i ti,
Rhoest, mewn haelder, mwynder maith,
Dy galon i'r digwlwaith.

Heb genfigen
Rhoes Rhydychen,

---

life was distinguished, granted the sum of 1000*l*. towards the erection of St. David's College, out of his own private Purse.

r Diau.

s J. S. Harford, Esq., of Blaise Castle, near Bristol.

t The Rev. Thomas Beynon, the venerable and respected Archdeacon of Cardigan.

u John Jones, Esq., of Derry Ormond, near Lampeter.

A'i chwaer[v] addien wych wareiddiaf,
At achosion
Cymru dirion,
Hael anrhegion—rhoddion rhwyddaf.[w]

Lluniwr y ddaear hygar a'r eigion,
Y llu wybrenawl, gwawl, a thrigolion
Bydoedd gannoedd—gwrandäwr cri'r gweinion,
Yn dyner fwyn clyw di ein erfynion,—
I lawr ar yr Adail hon—gwlawia, Naf
Haelionusaf, doethaf, dy fendithion.

Diles yw pob adeilad—îs haulwen,
Di-sylwedd pob bwriad,
Gwiw-Ner, fo heb dy gennad
Di, ein mwynlon dirion Dad.

Ar y Coleg hwn llawer calon,
O un gais a ddymuna'n gysson,
Dy rad a'th gariad—fel bo'n goron
I gu Walia, a'i glân drigolion,—
Yn feddyg—ac yn foddion— i arwedd
Myrdd i annedd y Mawr-Dduw union.

Diolch it', Dduw y duwiau,
Am dy fwynder pêr i'n pau;—

---

*v* Cambridge.

*w* The two Universities, with a liberality worthy of their noble fame for learning, contributed 200*l*. each towards the erection of St. David's College.

Tan oedfa tonnau adfyd
Ein porth diwael hael o hyd,—
Ein Tŵr a'n hynod Darian,
Fuost ti, ein Rhi, a'n rhan:
Dy rad, er pob direidi,
Mwyn Naf, a brofasom ni;—
Ein dïolwch yn daliad
O! cymmer, mewn mwynder mâd,
A bydd etto, tra bo byd,
Ein noddfa, er ein hawddfyd,—
Dedwydd, o dan dy aden
Fyg lwys, a fo Gwalia wèn:
Boed y Coleg hoffdeg hwn
Ŷn fael i amryw filiwn
O'r Cymry—yn dŷ o dàn
Ofal Ior, i'w fawl eirian.
Trwyddo ymdanned rhwyddwych
Lên a gwiw oleuni gwych;
Er budd tra mawr, O! bydded
Trwyddo'n dylifo ar led
Y wiwddwys adnabyddiaeth
O'r Tad a'i gariad di gaeth—
O groes yr hygar Iesu,
Ei ing dwfn, a'i angeu du—
O'r Ysbryd Glân Ddiddanydd,
O fywiol effeithiol ffydd.
Ofni Duw a fynno dyn,
A'i addoli—gan ddilyn
Ei lwybrau'n fanwl ebrwydd,
Benna' waith, a byw'n ei ŵydd.

Felly bydd dydd dedwyddaf,
I'n gwlad lon a hinon haf.—

Caiff y Cymry'u lletty'n llawn
Digonedd, yn dêg uniawn—
Eu Dofydd bob dydd yn dŵr
Ac anwylaf gynnaliwr,
A mwynhâu, dros fyth mewn hedd,
Ne' dawel yn y diwedd.

## SYLW-NODAU AR YR AWDL FLAENOROL.

*a Caerlleon-ar-Wysg*—ym mha le, o ddeutu dechreu y bummed ganrif, y sylfaenwyd Coleg hyglod, yr hwn, dan lywyddiaeth Dyfrig, a flodeuodd yn rhagorol. Yma y cyrchai meibion Tywysogion Cymru i dderbyn addysg yn y celfyddydau. Dywedir fod y Coleg hwn, unwaith, yn cynnwys nid llai nâ mil o ieuenctyd Gwent a rhannau ereill o Gymru.

*b Bangor*—nid y dref o'r enw ag sydd heddyw yn adnabyddus, ond *Bangor-is-y-coed*, yn swydd Fflint, o ddeutu deuddeg milldir o Gaerlleon-gawr, ar lan yr afon Dyfrdwy, yr hwn fan a fu unwaith yn Fynachlog o faintioli a chlod mawr, ac yn lle i gyfrannu dysgeidiaeth. Yr oedd yno 2400 o ysgolheigion. Caerlleon-ar-Wysg a Bangor-is-y-coed oeddynt un amser y mwyaf o lawer eu clod, fel llëoedd dysgeidiaeth, o fewn Ynys Brydain.

*c Menefia*—yn Gymraeg Mynyw, neu, fel ei gelwir yn awr Ty Ddewi, a fu, dros lawer o flynyddau, fel lle i gyfrannu gwybodaeth grefyddol a defnyddiol, yn glod ac urddas holl Gymru.

*d Illtyd*—oedd athraw Gildas a Dewi Sant. Efe a gafodd ei osod yn athraw duwinyddiaeth a philosophyddiaeth gan Garmon. Gwel y sylw-nod a ganlyn.

*e Dyfrig*—o ddeutu y flwyddyn 430, Garmon a Lupus, dau Esgob, a anfonwyd drosodd i Brydain gan Eglwys Ffraingc, i ddarostwng yr heresi Forganaidd ag oedd yn ymhelaethu yn yr ynys hon. Hwy a lafuriasant yn ddibaid yn yr achos at ba un eu hawdurdodwyd, a chyn ymadael â'r ynys hwy a adeiladasant amryw Golegau ac Ysgoldai, i ddysgu ieuenctyd Brydain, yn y Grefydd Gristionogol, philosophyddiaeth, a'r celfyddydau. Y rhai a gefid yn meddiannu y galluoedd a'r talentau mwyaf at y gorchwyl a osodid yn bennaethiaid ar yr ysgolion hyn; a *Dyfrig*, fel gwr o wybodaeth hyglod, a gafodd ofal Coleg Caerlleon-ar-Wysg.

*f Dunod*—oedd Abad Bangor-is-y-coed, ac mae ei enw yn glodforus mewn hanes am y gwrthwynebiad a wnaeth i Awstin Fynach, pan yr ymdrechodd gyntaf ddymchwelyd anymddibyniaeth Eglwys Brydain, a'i gosod dan iau y Pab, ei feistr,—yn y seithfed ganrif.

*g Dewi*—Mae enw Dewi Sant yn rhy adnabyddus i ofyn traethu yn ei gylch.

*h Patrick.*—(Padrig) Saint hyglod y Gwerddoniaid, Cymro oedd, ac aelod o Goleg Illtyd, cyn ei ddwyn yn garcharor i'r Iwerddon. Meddylir yn gyffredin iddo ddychwelyd o'i gaethiwed, ac iddo fyned eilwaith drosodd i'r Chwaer-Ynys yn wirfoddol i ddysgu ei thrigolion yn egwyddorion y Grefydd Gristionogol.

*i Asser*—Mynach o Dy Ddewi, oedd wr a berai yn ei ddydd i'r byd synnu o herwydd ei wybodaeth. Y mae'n wirionedd —a dylai pob Cymro gofio hyn gyda balchder, mai CYMRO a fu ar y cyntaf yn dysgu'r ieuenctyd a gyrchent i Rhydychen am wybodaeth, er maint clod y lle hwnnw am wybodaeth y dydd heddyw. Y Brenin Alfred, pan sylfaenai y Coleg cyntaf yn y lle hwnnw, a anfonodd am Asser o Dy Ddewi, ac a gafodd ei foddloni gymmaint ynddo, fel y rhoddodd daer wahoddiad iddo ddyfod i fyw atto ef i'r Llys Breninol. Y Brenin a'i gwnaeth yn Esgob Sherbourne ; a phe buasai Asser yn dewis gadael ei sefyllfa yng Nghymru, gallasai gael unrhyw ddyrchafiaeth a ewyllysiai : ein gwladwr, beth bynnag, a hoffai yn well gymdeithas ei gyfeillion yng Nghymru, ac ni chaed ganddo ymweled â'r Brenin, a'r Coleg yn Rhydychen, ond dros un hanner o'r flwyddyn.

*j Sulien, Rhyddmarch.*—Sulien Ddoeth a gyssegrwyd yn Esgob Ty Ddewi o ddeutu'r flwyddyn 1070. O gariad at lonyddyd ac ymneillduaeth oddiwrth y byd, efe a roddodd i fynu ddwy waith neu dair, ofal Esgobaeth Ty Ddewi, a chymmerodd y swydd arno gynnifer o weithiau drachefn, ar daer gais y rhai hynny a welent nad oedd neb i'w gael ond efe a allasai lanw y Gadair Esgobawl gyda digonol awdurdod ac anrhydedd.

*k Rhyddmarch* oedd fab i Sulien. Efe a'i dad oeddynt glodfawr hynod am eu dysgeidiaeth. Ysgrifenwr enwog a ddywed am Rhyddmarch, "ar ei ôl ef daeth diwedd ar ddysg yn Nhy Ddewi." Bu yn Esgob Ty Ddewi, a bu farw yn y flwyddyn 1098.

*l* Yma y Prydydd a ddychymmyga ei fod yn gweled ail Oronwy Owen yn rhodio ym mysg y coed ar lannau Teifi, a'i ben yn llawn o fwynderau'r Awen nefolaidd.

*m* Cicero a ddywed fod dysg yn hyfrydwch oddi cartref, ac yn wynfyd gartref.

*n* Yma cyfeirir at wledd flynyddol y Coleg, sef y 12 o Awst.

*o* Dr. T. Burgess, diweddar ddysgedig Esgob Ty Ddewi.

*p* Y Gymdeithas er hyrwyddo Gwybodaeth Gristionogol ac Undeb Eglwysig a sefydlwyd gan Esgob Ty Ddewi yn glau ar ôl ei ddyfodiad i'r Esgobaeth.

*q* Ein diweddar rasusaf Frenin George y Pedwerydd, gyda'r haelioni hwnnw ag sydd wedi nodi holl ystod ei fywyd, sydd wedi rhoddi 1000*l*. at gyfodi Coleg Dewi o'i gôd ei hun.

*s* J. S. Harford, Yswain.

*t* Y Parch. T. Beynon, teilwng a Hybarch Archddiacon Ceredigion.

*u* John Jones, Yswain, o'r Dderi-ormond, gerllaw Llanbedr.

*v* Caergrawnt.

*w* Y ddwy Ysgol freiniol—Rhydychen a Chaergrawnt, gyda haelioni teilwng o'u clod am ddysgeidiaeth a gyfranasant bob un 200*l*. at gyfodi Coleg Dewi.

# PENNILLION

## AR AGORIAD COLEG DEWI SANT,

### MAWRTH 1, 1827.

I'R Coleg, fy awen, moes etto fwyn gân,
Y testun a driniaist i'm mawrglod o'r bla'n;
Mewn "Caethion Fesurau" 'r pryd hynny'n lled
brudd,
Yr awrhon am ennyd cei'th aden yn rhydd.

Os melus oedd canu ei glod, pan nad oedd
Dim dwylath o'r muriau i'w gweled yn g'oedd,
Hyfryttach ei foli, ar ben pan mae 'nawr,
Yn goron i Gymru—mor hardd-deg â'r wawr.

Y Coleg, dros flwyddau yn agos dri naw
Y soniwyd am dano rhwng gobaith a braw,
Sydd heddyw'n agored i blant Cymru wèn,
A Chymro diledryw, glân, gwir arno'n bèn.

Rai blwyddau cyn heddyw, Llywelyn,[a] â thi,
Mae'n lled adnabyddus dy ffrynd Daniel Ddu;
Ac iddo mae'n hysbys d'wybodaeth ddi nam,
O'r burlan Frythonaeg—o fwyn iaith dy fam.

---

a Dr. Ll. Lewellin, Pennaeth y Coleg.

Os Beirddion Parnassus, rai hwylus eu hiaith,
A wnaethant dy fynwes yn gynnes gàn waith,
Rho nawdd yn y Coleg i'r awen a'i lli',
Os gweli ryw irlangc mewn cariad â hi.

E drefnwyd bydd studio a harddu ein hiaith
Yng Ngholeg St. Dewi, a gweddus y gwaith,—
Rhyw newydd llawn gobaith i'n heniaith yw hwn,
A phennau'i gelynion a dorrwyd yn grwn.

Mewn iechyd, Llywelyn, boed iti barhâd
I lywio'r hoff Goleg, gogoniant ein gwlad;
Boed enw'r un cyntaf yn ben arno fu
Ar gannoedd yn gyntaf mewn teilwng wir fri.

Dydd hyfryd i filiwn yw hwn—dydd o hyd
Fydd lawen ei gofio drwy Gymru wèn glyd,—
Dydd agor hoff ddrysau gwybodaeth i'n plith,—
Cyd-lefwn na weler mo'u caead byth, byth.

Ti, Ddewi, a'th annedd ym mannau'r mwynhâd,
Tro'th olwg am ennyd i lawr ar dy wlad,
A gwel ail *Dy Ddewi* yn hwylus ei hynt,
A Chymru anwylgu yn gwenu fel gynt.

Ai anghof i'r morwr yr awr felus wir,
'Nol hirdaith beryglus y deuodd i dir?
Ai anghof i'r milwr yr awr y daeth hedd,
'Nol cario dros feithion flynyddau'r glas gledd?

Ai anghof i ninnau, sy'n llawen yn awr,
Yw Burgess, a'i drafferth a'i lafur gwir fawr?
Tra dwr yn y moroedd—tra haul yn y nèn,
Bydd bendith hil Gomer dros byth ar ei ben.

I'r Cymry bu Burgess[b] yn dyner fwyn dad,
A Jenkinson[c] etto sy'n noddi'n hen wlad;
Wrth dderbyn bendithion fel hyn yn ddi baid
Mae prawf fod y nefoedd ei hunan o'n plaid.

Ble'n sefyll mae'r Coleg—yr adail hardd hon,
Ag arni dri Athraw yn llawn o ddysg llon?
Yn hen Geredigion (pwy gynt goel'sai'r gân?)
Yn nhêg ddyffryn Teifi,—wrth Lanbedr lân.

Tra Teifi diriondeg yn rhedeg yn rhydd,
A'r adar o'i ddeutu'n llon ganu'n y gwŷdd,
Byth, byth, o ogoniant a llwyddiant yn llawn,
Bo Coleg St. Dewi'n blodeuo mewn dawn.

---

*b* Dr. T. Burgess, Esgob diweddar Ty Ddewi.

*c* Dr. Jenkinson, Esgob presennol Ty Ddewi.

# AWDL

AR

## FUDDUGOLIAETHAU DIWEDDAR Y GROEGIAID AR Y TYRCIAID.

**Yr hon a ennillodd yr Ariandlws yn Eisteddfod Dyfed, 1823.**

Da eres fam y dewrion,—Roeg wenwych,
Fro gynnes hyfrydlon,
Cynnydd i'th holl amcanion
Fo ar dir ac ar ferw dòn.

Gwlad milwyr, arwyr eirioes,—gwlad doniau,
Gwlad dynion gwareiddfoes,
Boed iti rwydd lwydd, heb loes
Du ragfarn nac un drygfoes.

Dywed wrth dy blant mâd fath fu'u tadau
Yn eu parodrwydd yn wyneb brwydrau,—
Fath dros eu gwlad fu eu hymdrechiadau,
Wiwbur anian, i gynnal eu breiniau;
A thân trwy eu gwythenau—melltened
A gwyllt reded ar led eu haelodau.

Wlad anwyl, mawr hwyl i'th hynt,
A hylwydd fo dy helynt
A dwrn hyf ymgadarnhâu
Wnelot, bob dydd, yn olau.

Gwêl Ryddid, gwawl ireiddwych,
Yn yr wybren wèn, yn wych,
A'i hadenydd ar danniad,
Fel Angyles, fynwes fâd,—
Gwêl ei llun, erglyw ei llais,
Ac amgen fo'th dêg ymgais.
Drosti, er pob rhyw drawsder,
Er pob dïal, dàl yn dêr:
Galw dy helynt gynt i gof,
Yna ing a â'n angof.

A ddarfu synnu a sôn
Am wyr ethol Marathon?[a]
Dolydd ymdrech y dulid,
Codwch a llefwch mewn llid,—
Dywedwch am hen dadau
Groeg seirian, wiw burlan bau:
Gwelasoch, ddolydd glwyswawr,
O'r Persiaid lu'n llethu'ch llawr,
A gwyr hen Roegia gywrain
Yn medi rhestri y rhai'n.
Galwch eu plant rhy gulion
I gofio'r oes, harddoes hon;
Yna Mahometaniaid,
Resyn ac anhydyn haid

---

[a] Ym Marathon y darfu i Miltiades, gyda deng mil o Atheniaid, ennill y fuddugoliaeth ar gàn mil, neu, fel y dywed rhai Awdwyr, fwy ná theirgwaith y rhifedi hynny, o'r Persiaid dan lywodraeth Datis ac Artaphernes.

Annuwiolaf, ni welir
Mwy'n gormesu, 'n tasgu[b] 'ch tir.
Athena! fam ffraeth ddynion,
Dewis wyr, hynod eu sôn,
Lle'n wâr y ffrydiai araith
Yn ddidor, fel y môr maith.—
Allor y dawn oll a'r dysg,
Lle anneddai llon addysg,
B'le, Athen[c] groyw-wèn, mae gwres
A thân dy Ddemosthenes?[d]

Helicon a'i ffynnon[e] ffaeth
Dra hoywfwyn a'i dwr hyfaeth,
Ac Hymettus,[f] felus fan,
A'i loyw araul fêl eirian,

---

*b* Censeo—to tax, gwêl Dr. Davies.

*c* Athen,—Prifddinas y rhan honno o Roeg a elwid yn yr amser gynt Attica, eithr yn awr Livadia, oedd hynod am ei gwyr gwybodus. Oddi yma y tarddodd allan y fath ffrydiau o wybodaeth ag sydd wedi peri syndod i'r byd dros ragor nâ dwy fil o flynyddau. Yma yr olrheinid i feithder nas gall yr anneallus amgyffred, bob math o wybodaeth, sef Rhifyddeg, Daearfesuriaeth, Rhesymegyddiaeth, Areithyddiaeth, Llythyraeg, a Cherddoriaeth,—heblaw y Celfyddydau, a Philosophyddiaeth Foesol a Naturiol.

*d* Demosthenes oedd Areithiwr nodedig ym mhlith y Groegiaid, pan oedd Athen yn ei gwychder goreu.

*e* Y ffynnon Hyppocrene—un gyssegredig i'r Awenyddau (Muses) a lifai o fynydd Helicon.

*f* Hymettus—mynydd yn Attica, mawr ei glod am ei fêl rhagorol.

A mynydd Awenyddion,
Parnassus, [g] lliwus a llon—
Fannau gynt ofynai gerdd,
A melusgaingc aml lwysgerdd,
Nef wèn! a raid i'r rhai'n fod
A'u holl werth yn llaw arthod?

Eneidiau gwyr LEONIDAS[h]—codwch
Mewn cadarn wres eirias
I yrru o'r fro wiw fras
Gelynion llawn galanas.

Fintai fach, o faint a fu,—gwroledd
Goreulew eich gallu!
Trichant dros dridiau'n trechu
Aerfa lân, aneirif lu!

Yn aethus llu Sercses[i] a ymwthient
I Thermopiwlæ—eithr yma pylent!
Ail mor-ryd mawr i'r man cul ymyrrent,—
Ail ewyn[j] tonnau mŷr campwyr cwympent
Ogylch,—er oll a wgent—myrdd o wyr,
O lew filwyr, yn angau 'mbalfalent!

---

*g* **Parnassus, mynydd yng ngwlad Roeg lle y trigai'r Awenyddau (Muses).**

*h* **Leonidas, oedd frenin Lasedemon. Efe, gyda 300 o wyr Sparta, a rwystrodd, dros dri diwrnod, yn Thermopylæ, ymgyrch y Persiaid, y rhai oeddynt bum miliwn o rifedi.**

*i* **Xerxes.** *j* **Foam.**

Filwyr Groegia, yn fywlan
A dewr, ymlenwch o dân:
Achos sydd gennych uchel,—
Pob gwlad yn geinfad a'en gwêl.

Rhyw Bericles,[k] er lles gwiw i'ch llysoedd,
Coded a d'weded mor hynod ydoedd
Ysbryd eich tadau, tyrau eich tiroedd,
I lwyr chwilfriwiaw llaw pob galluoedd
A gwnnent yn aml gannoedd—i'ch poeni
Neu i chwerw doli hedd eich ardaloedd.

Groegwyr, clywch grïau gwragedd
Gweddwon, Och! cleifion—a'ch cledd
Hogwch, bwriwch hyd y bôn
I galonnau'ch gelynion.

Gwelwch eich temlau gwiwlan,
Allorau Duw, oll ar dân,
A'u digwl weinidogion
Mewn sarhâd. Ow'r brad o'r bron,—
Y gelyn gresyn, di gred
Yn ammharchu eich merched,—

Merched glana'
Gwragedd Sparta[l]
Och, a goelia'? 'mreichiau'u gâlon,—

k Pericles oedd Areithiwr hynod a gwr hyfedr neillduol i drin achosion gwladol, ym mhlith y Groegiaid.

l Sparta,—dinas enwog o Peloponnesus gynt. Trigolion y dref hon oeddynt hynod am eu dewrder. Menywod Sparta

Ysgorpiynau
'N porthi'u nwydau
Ar dêg lysiau euraid glwysion,—

Plant, â dagrau
Ar eu gruddiau,
Yn rhoi nadau rhy annedwydd
Am eu tadau
Sydd mewn rhwymau
Neu 'nglŷn angau, 'n lluniau llonydd.

Ow! y fath greulondra fu—yn Seio,[m]—
Y lwys Awen fwyngu
Doreithiog, ni all draethu
Hanner y gwaith—diaflwaith du!

Yr hanes hagr o'r ynys hon—clywais,—
Cloiodd fy meddylion;
Eiriau dwys, aeth yn oer dòn
Yn ei ôl gwaed fy nghalon.

Y Tyrciaid, haid anhydyn,
A'u gwedd yn llawn brad a gwŷn,

---

a gynnalient wleddoedd i goffhâu marwolaeth eu meibion a gwympasent yn anrhydeddus mewn rhyfel; a llawer mam a laddasai â'i llaw ei hun, ei mab anwylaf, os, trwy ddiangc o ryfel, y dygasai ddirmyg ar ei wlad.

m Scio.

Hyll gigyddio,
Llosgi, rhwygo
A wnaent yno, mewn hynt anwar,—
Lladd, heb arswyd,
Hen wr penllwyd
Ar ei aelwyd, Ow, oer alar;

Lladd y baban gwan, f'ai'n gwenu—arnynt,
Wnai'r oernaws echryslu;
Yr oen gai ei drywanu
Y'ngŵydd ei fam—geinfam, gu!!

Gwaed Crist'nogion
Gwâr a gwirion
Yn hyll afon fawr y llifai;
Y'ngho'l estron
Ei wraig dirion
Hygar wiwlon—gwr a welai!!

A fydd yn dâl ddim dialedd,—Roegwyr,
O'r fath ddrygwaith hyllwedd?
A gâr ei wlad gu eurwedd
Trwsied a gloywed ei gledd.

Ymfyddinwch,
Ymarfogwch,
Ar Dduw iolwch;—e rydd âlon
Eich glwys henwlad,
O'i anwylfad
Hynaws gariad, yn ysgyrion.

Byddwch wyr, arwyr eres;—ymgodwch,
Mae gwaed Themistocles[n]
Yn gwaeddi, mwyn gri, mewn gwrês,
" Dihunwch, er da hanes;—

" Dihunwch yn frwd heini;—na fwriwch
" Niferoedd na chynni;
" Gynnifer, sylwer, roes i
" Yn waelgarn yn y weilgi?"

Mawrwyrth ar dir a moroedd,
Enwog waith, wnaethoch yn g'oedd.

Muriau a chestyll mawrion—yn isel
Rhoddasoch, wyr ëon;
Yn eu braw gwel'soch o'r bron
Ar eu gliniau'r gelynion.

Canfod a wnaeth y ce'nfor—yn ollawl
Eich gallu dieisor;
Rhuadau pelau pylor
A mwg ddychrynent y môr!

Llynges Twrci
Dïal arni
O dirioni Duw a rannodd:

---

*n* Themistocles oedd lywydd ar lynges y Groegiaid gynt yn Salamis, pan ddinystriwyd holl longau y Persiaid gan ryw nifer fechan iawn o eiddo'r Groegiaid.

Yn dân fflamllyd
A dychrynllyd
Ar un ennyd yr ennynodd.

Iawn gospodd, mewn cludfodd clau,
Duw Ior, y creulonderau
A lwythwyd ar hil ethawl
Anwyl wlad geinfad y gwawl.

Syw arwydd y Groes eirian—yn iawnwych
Sy'n ennill ym mhob-man;
Mae'r Iesu glwysgu a glân
Yn hwn yn gweithio'i hunan.

Yn iawnddwys cadarnffydd ynddo--rhoddwch,
A rhyddid ddaw etto
Yn haelfraint i'ch anwyl-fro
Fu ry drist, ar fyr o dro.

Ym Mhatras bu du dywydd—a dolef
Diles feib di grefydd;
Yno bu curo caerydd,—
Bu yno dwym benna' dydd.

Llumman y Groes yn llammu—a welwyd
Drwy'r heolydd glwysgu,—
Tyrciaid yn y llaid yn llu
A'u byddin wedi'i baeddu.

Ethol wedd gwel'd hen Athen,—wych arwyr,
A'i chaerau'n eich perchen,—
Daear eich tadau dïen,
Lle'n fôr didrai llifai llên.

Y Morëa,
Hen Achaia
Ac Eubœa[o] dêg a bïoch;—
Ynys Candia,
Bro Thessalia,
Ardd ddewisa', a ryddhasoch.

Arialweis, ym mlaen yr eloch,—y wlad
Oleudeg fo'n eiddoch,—
Yn hyrwydd fyth y llwyddoch,—
Yn ben ar y Ddraig y b'och.

Uchel gri gwaed Padrïeirch
A'u Duw hwynt, sy'n gwrando'u heirch,
O'ch plaid beunydd a fyddant—
Gwyr Twrci eu cospi cânt.

Dan ofal Duw y nefoedd,—Llyw addwyn,
Llwydded eich byddinoedd;
Eirian gamp, i guro'n g'oedd
Du elyn o'ch ardaloedd.

---

o Negropont.

O gweler eich bannerau,
Yn y gwynt ar fyr yn gwau,
Fwynwawr, ar Seion fynydd,
A Duw a 'mhoffa'n y dydd.

Rhyddid, nid oes o'r rhoddion
Dy ail is ser, leufer lon;
Yn iawn dêg, heb y wên dau
Nâ dynion gwell eidionau:
*Hwy* ni wyddant, Fun addwyn,
Am dy werth, na'th wedd ferth fwyn,—
I *ddyn* wyd ran o'i ddeunydd,—
O'th ŵydd syw yn fyw ni fydd:
Byth i'w enaid bwth un-nos,
O tlawd, gyda Rhyddid dlos,
A ry' fodd i wir faeddu
Pob gofalon digllon du.
Ireiddwen hygar Ryddid,
Ferch ddieisor, tòr bob tíd,
A gwena etto'n geinwych
Ar Roeg, y wlad orau wych.—

Gwâr alluoedd Gorllewin,
Yn falch a lym hogech fin
Eich cledd, o drugaredd, gynt,
Yn hwylus iawn eich helynt,
I yrru gwyr hagr eu gwedd
O wiwlan Gana'n geinwedd.—
Cuaf fadweis, cyfodwch,
A gwên hoff lawen, yn fflwch;—

Y Dwyrain, fwyn wlad orau,
Achubwch, rhwygwch yr iau
Sy'n rhydrwm, cwlwm caled,
Yn gwasgu, 'n crymmu gwddf Crêd.

Oreudeg Ymerawdwyr
Ewropa, hawddgara' gwyr,
Codwch eich breichiau cedyrn,
Yn wych gall, a thorrwch gyrn
Y Bwystfil anferth bostfawr,
Addoer Fall y ddaear fawr:
Mae Groegia, fam gwyr hoywgall,
Mammaeth pob dysgeidiaeth gall,

Mam Gwybodau,
Celfyddydau,
Goleuadau'r byd gweledig,
Wrth eich gliniau,
Yn rhoi crïau,
O gain enau'n egwan, unig.

Ei gwaedd, O clywch, a'i gweddi,
A hael gynnorthwywch hi.
Ie'ngctyd y byd gwybodawl,
I'ch nawdd chwi mae'n honni hawl;—
Os Homer, geinber ei gân,
Mewn dyddiau mwyn a diddan
A'i ddewr iaith ennynawdd wres,
O fewn eich hygar fynwes,

Os Pindar, a'i gref araith,
A'i llif fel y môr-lif maith,
Erioed fu'n gwiwlan dânu
A nwyd coeth eich enaid cu,—
Os bu trafod gwybodaeth
Ichwi'n flasus, foddus faeth,—

Os bu felus
Ffrwyth Parnassus
Yn eich gwefus, iawnwych gofion,
Clywch riddfanau
A dolefau
Y wlad orau anwyl dirion.

Ireiddwen gares Rhyddid,
BRITANNIA, 'mlenwa o lid
I ysu'r Twrc, ormesydd,
A rho y Groegiaid yn rhydd.

BRITANNIA, eurbryd hynod,
Dy enw glân daena'i glod
A'i barch i begynau byd,
Iach hwyl, yn ddifrycheulyd.

Tydi anfoni'n fwynwych—i'r bydoedd
Wâr wybodaeth iawnwych,
A llawen ddiball lewych
Y wiw lân Efengyl wych.

Tir Affrig anelwig a wnai'n olau
A llwyr ddisglaer â gair y Duw gorau;
Rhoi'st yn rhyddion, drwy dy gysson geisiau,
Ei meib anwyl o'u mwya' wayw-boenau;—
I ti am hyn tyn yw tônau—gwiwlon
Mawl y dynion oedd gynt mal eidionau.

A adewi blâ daear,—cŵn annwn,[p]
Cynnenus, dïalgar,
I wenwyno yn anwar,
Wawd y byd, tir Crêd â'u bâr?

Yn llon a haelwych tro allan hwyliau
Dy fawrion, ëang, hyson lyngesau,—
Llanw o bylor yn llawen eu boliau,—
I bob magnel rho fil o dân-belau,—
Yn firain ferch, clyw'n forau,—mewn mawrddig,
Gri'r gorthrymedig,—caent ddiddig ddyddiau.

Gwyddys, dêr ynys, nerth dy daranau,—
Hysbys i'r byd i gyd yw dy gadau,—

---

*p* Geilw'r awdwr y Tyrciaid, yn y gân hon, wrth enwau lled greision, megis Cwn Annwn, Bwystfilod, Ysgorpiynau, &c., ond y mae'n credu y caiff faddeuant gan bob un ag sydd wedi darllen hanes y creulonedd dihafal—y barbareidd-dra digyffelyb ag y mae y Tyrciaid wedi arferyd yn y rhyfel presennol, tuag at eu cyd-ddynion. Nid all un galon lai nâ galw ar bob gallu daearol a goruwch-naturiol i ddiddymu o'r byd genedl mor hollol ddïeithr i deimladau dynol ag yw'r Tyrciaid, a dymuno llwyddiant i'r Groegiaid yn eu hymdrech i daflu'r iau oddiar eu gwddf.

Yn Algiers[q] mae etto ôl gwaeau ;—
Ai llonydd, Prydain gain, dy dêg ynnau
Pan mae'r Groegwyr, gwyr gorau--yn llawn glân
Cua' dân i dorri eu cadwynau.

Dros donnau, gwarrau geirwon,--i'w golwg
Disgwyliant yn gysson
Hael gymmorth a llawnborth llon
O Ynys Rhyddid union.

Awdwr y Nefoedd wiwdeg
Y dwr dwfn a dâear dêg,—
Duw a yrri y daran
Drwy ffyrdd ffyrnig y dig dân,--
Y llaw a fu yn llywio
Had Israel gynt, siriawl go,--
O un môr wnait ddyfnfôr ddau
Echrys a syn eu hochrau,—
O ymgŵyd, fraich drom gadarn,
Ar waedd byd, i roddi barn
Ar elynion creulon Crist
Hagrwedd, barbaraidd, di-Grist.

Clyw, Arglwydd yr arglwyddi,
Llais Crêd,[r] a boed lles o'u cri.

---

q Gwêl hanes gweithredoedd rhyfeddol y fintai o longau a hwyliasant yn ddiweddar yn erbyn Algiers, dan lywodraeth yr Arglwydd Exmouth.

r Crêd—Christendom ; yma meddylir trigolion Crêd.

Mal yn lân o Gana'n gynt
Y gyrraist â'th lym gorwynt
Halogwyr y wlad loywgoeth,
Etto, O Dad dwysfad, doeth,
Yn wyrthiol gwisg dy nerthyd
A barn ffieidd-beth y byd.

---

## BRWYDR NAVARINO.

**Ennillwyd buddugoliaeth gan Lyngesau cyssylltiedig Brydain, Ffraingc, a Rwssia, ar Lynges y Twrc, ym Mhorthladd Navarino, Hydref 20fed, 1827. Y tri Galluoedd crybwylledig oeddynt wedi uno o blaid rhyddid i'r Groegiaid, yr hyn a ommeddai y Twrc. Yr oedd Llynges Twrci yn gynnwysedig o 214 o longau, y rhai a hollol ddifrodwyd, heb adael cymmaint ag un ym meddiant y Twrc.**

A FYNNAI'r prydydd er's dyddiau—a chais
Iachusol myrddiynau
Cyflawnwyd,—cei filiynau
O'th blaid, Roeg ddwys, burlwys bau.

Britannia mewn bryd tyner,—wawr wiwlan,
Eiriolodd gryn amser,
Yn dàl am ryddid yn dêr
I lonbarth Groegia lanber.

Creulonedd hagrwedd o hyd,—gwae oeraf,
A garai'r Twrc ynfyd;
Ei fron ni ddangosai fryd
I noddi pêr lonyddyd.

Yn awr y digiodd, tynnodd Britannia
Yn ereswych, gyda Ffraingc a Rwssia,
Y cleddyf o'r wain,—hoyw sain Hosanna
Yn wir happus rhoddodd holl Ewropa;
Diau'n deg pob dyn da—oedd â'i hoffedd
Yn nialedd rheibwyr annuwiola'.

A *bu* dialedd ac enbyd wylo,
Y nef a'u rhannawdd, yn Navarino;
Brydain lân ei tharan yn bytheirio
Ar y môr, lle y medra ymwrio,—
Cry' helynt, yn cywir hwylio—tân rhydd
Yn gawodydd, gan erchyll ergydio!

Rhestrawg fagnelau, gegau nid gweigion,
A annelid yn eitha' manylion,
A gyd-arllwysent gawod i'r llaesion
Longau Tyrcaidd, rai gwaelaidd a gwelwon:
Lledrwydd dybiai'r lladron—fod y Gwr Drwg
O'i arwa' gilwg yn rhoi argoelion.

Yn barodwych derw-gestyll Brydain
A wnai achos i'r gwaedgwn i ochain,—
Pan i'w goiwg y cwympai yn gelain
Eu gwyr pennaf, y dewraf trwy'r dwyrain,—

A mellt trwy eu llongau main,--a lli' 'n llwyth,
Hylla' adwyth, trwy y tyllau llydain.

Safai'r dynion, gan fraw yn syfrdanu,
Ac yn llwyr oll ar goll aeth eu gallu,
A'u bron a'u crinion aelodau'n crynu;
Trwy eu henaid caid ofn yn trywanu,
Wrth weled ar lled eu llu—'n gyfrodedd,
Hell wyw agwedd, yn angau'n llewygu.

O nerth braich Brydain, ferch firain, fawr-rydd,
Er clywed ei hynod glod trwy'r gwledydd,
Yr hagr haid o fileiniaid aflonydd
Ni chawsent brofiad, er nâd annedwydd,—
Ond yn ddigaeth daeth y dydd,—i roi'n glau
Ar eu gwarrau gyflawnder o gerydd.

O'u deucant o longau, muriau mawrion,
Un nis ceir nad ydyw yn ysgyrion;
Llyn oer y môr oedd yn llawn o'r meirwon
Yno a ddodwyd o dan y ddudon:
O'u beddau rhoddent rybuddion—i'w gwlad
I attal brad, er lleihâd trallodion.

Y frwydr, os ydyw o fri—iachusber,
Ni chospwyd hen Dwrci
Hanner, mae'r byd yn honni,
I haeddiant ei hagrblant hi.

Gyrru o'u gwlad y gwyr garwol,—diewlig,
Dylai'r byd Crist'nogol,
A hau yr ardal o'u hôl,
A grawn fo'n llai gerwinol.

Un dig waith o'i hyll gospedigaethau
Yw, trwy niwed, torri o eneuau
Dynion, i'w rhoi'n fudion, eu tafodau!!
Difroder neu gwasgarer trwy gyrrau
Byd maith, hygarwaith gorau,—heb un rhus
Y gwarthus a'r poenus ysgorpiynau.

---

# ENGLYNION

**Er cofiant IFOR HAEL, Arglwydd Maesaleg, ac er annerch ei Ddisgynidd o Deulu Tredegar, yn Eisteddfod Aberhonddu; a gynnaliwyd dan lywodraeth Syr Charles Morgan, Marchog, Medi 25, 1822.—Yr Englynion hyn a ennillasant y Wobr.**

DEUWCH, Feirddion llon, yn llu;—O deuwch
I dawel gyd-ganu,
Yn deilwng, fyth i deulu
A gaid i'n tadau mor gu.

IFOR HAEL ddiwael i'w ddydd—yn addas
A noddai'r Awenydd;
Ei gêd, heb lai, rhoddai'n rhydd
Yn barodwych i brydydd.

E gai'r Bardd yn hardd o hyd,--dàn waywloes.
Dàn alar tywyllfyd,
Dàn rwystrau a beichiau'r byd,
O law Ifor oleufyd.

Ifor hen, o fawr hanes!—wiwgu ŵr,
Y mae gwaed dy fynwes
Gu iawnwych *heddyw'n* gynnes
Yn dy ŵyrion llon, er llês.

Rhyw ethol ŵr o'th hîl lân—a gododd
Yn gadarn borth gwiwlan,
Noddwr, mwyn garwr y gân,
Em eurgerdd—Syr Charles Morgan.

Gwaeddwn, llon ganwn yn gynnar,—Llwyddiant
Oll iddo, Bôr hawddgar;
Er iawn nerth i'r Awen wâr.
Tŵr digwymp fo Tredegar.

# CERDD ARWRAIDD

AR Y

# GAUAF;

Yr hon a ennillodd Ariandlws y Parch. ARCHDDIACON BEYNON, Llywydd Cymdeithas Cymreigyddion Caerfyrddin, Mawrth 11, 1828.

ER mai hyfryttach fu'sai, Awen fwyn,
I'r Gwanwyn melus godi uchel gân,
Pan byngciai'r adar ar y gangen îr
A thi yn gydlais, a phan wenai oll
O amgylch iti mewn gogoniant llawn;
Pan gwnnai'r bêr uchedydd gyda'r wawr,
I'r pell ehangder i ddyrchafu mawl
Creawdydd anian, ag a roddai hûn
Mor dawel iddi, ac a'i porthai'n hael:—
Nid yw annheilwng etto o dy nawdd
Y testun hwn: yr un anfeidrol Fod
Sy'n llywio Gwanwyn, Haf, a Hydref llon,
A Gauaf llwydwawr hefyd. Trwyddo Ef
Mae'n deilliaw'r cyfan: ei lywodraeth lân
Uwch deall dyn, sydd berffaith trwyddi oll.
Gan hynny dere, fy Awenydd lwys,
A bydd di barod gyda'th serchog was
I roi ymweliad ar y Tymmor hwn
I faes myfyrdod, ac ehanga di
Fy sylw egwan, fel y byddo'm cerdd
Yn boddio dyn ac yn mawrygu Duw.

Mæcenas[a] Cymru, Beynon, hael dy law,
A hael dy galon,—er na fedd dy wlad
Na Virgil pêr, na Horas doeth ei gân,
Yn hynaws derbyn ein hymdrechiad ni,
Wael Feirdd y Mynydd Dir sy'n llawn o barch
I ti, wobrwywr[b] yr Awenydd lon!

Yr haul a deimlid yn ei wres mor boeth,
A'i belydr gloywon yn sirioli'n tir,
Yn awr a ferchyg trwy yr wybren ddu,
Yn bŵl ei agwedd; eithaf diog yw
I ado'i wely ar y moroedd draw,
A mawr ei frys i 'mchwelyd yn ei ol
O ŵydd ein hynys, fel pe byddai gas
Yr olwg arnom yn ein cyflwr llym.
Ei gylch er byrred, e a red dros hwn
Am amryw droion, heb i lygad dyn
Un waith ei ganfod; neu os rhydd ei wên
Am ennyd fechan trwy ei fantell dew,
Yn glau ar encil yn ei ol y try,
Dan aml ddyblygiad a thywyllwch hon.

Yr haul os yw anhygar, etto mae
Y lleuad wenlliw, yn serchiadol iawn,

---

*a* The celebrated Patron of the Roman Poets in the time of Augustus Cæsar.

*b* The Roman and English poets break out of their subject in this manner, to pay a deserved tribute of respect to the liberal and esteemed Patrons of their Muse: and the Author could not here resist the temptation of following their example.

Trwy'r nen yn tramwy ar fawryddig hynt,
Gan daflu hoff oleuni trwy ein bro.
I'r teithiwr poenus ar ei ddyrys daith,
Mor fwyn uwch bryn y cyfyd llewyrch hon.
Pan mae'n ddeucorniog ac yn fain ei gwedd,
Mae'n fawr lawenydd ei thywyniad glwys:
Ond pan mewn llawn gogoniant y ceir hi
Yn goron gron, heb gwmmwl yn ei gŵydd;
Neu pan ei gwelir rhwng mantelli'r nef,
Yn mynych ddangos ac yn mynych doi
Ei hwyneb siriol, mae ei heirian wedd
Yn ogoneddus uwch darluniad iaith.
Arglwyddes nos! mor fwyn yw'th leufer di
Sy'n gyrru t'wyllwch atgas, hyll, ar ffo,
Yn gwynnu mynydd—yn ariannu dwr.
Un ganwyll ydwyt, yn goleuo'n fad
Yr un ag sy'n wynebu tu a'r de',
A'r un i hwn sy'n teithio'n hollol groes.
Os byr yw'r dydd, tydi'n gyfeillgar iawn
Ddoi i gyfyngu ar deyrnasiad nos,
A fu'sai hebot ti yn hirfaith wae,
A gwewyr arnom yn ein carchar blin.

O gelloedd wybren y disgyna'n chwyrn
Y curwlaw nerthus ar y mynydd ban,
Nes llenwi'n hylwyr y cornentydd gwyllt,
Rhwng serth agenau ac holltiadau'r graig,
A neidiant yn ddychrynllyd, nes i lawr
I'r dyffryn gwastad iddynt arllwys llwyth
Eu safnau hyllig, a'u cynddaredd ffrom.

Yna'r fawr afon trwy y glŷn a red,
Tywi neu Teifi, dros y glannau'n chwai
A deifl ei rhydrwm faich mewn digedd llawn,
Gan rwygo perthi, pontydd—manwl waith
Llafurus ddyn, a pheri galar trist
I'r gwael anifail, wrth yr erchyll wedd.
Ar ben moel glawdd, a'r llif yn cuddio'r ddôl,
Mi welaf dwrr o ddefaid yn eu braw,
Yn glynu 'nghyd; uwch, uwch y gorlif gwyllt
A gyfyd yn funudol; wele hwynt
Yn cael eu codi gyda'r ffyrnig dòn!
Fy Awen, wyla—wyla gyda mi
Ar hyn o dro; mae'r drych yn gofyn daigr.
Hanesion lawer o dosturi'n llawn
A glywir erbyn foru,—teithwyr gwael
I'r llyngclyn wedi syrthio, fel trwy'r rhyd
Y ceisient dreiddio tu a'u cartref mwyn!

Fel hyn, os echrys yw effeithiau'r gwlaw,
Y gwynt nid llai brawychus, trwy y nen
Pan rua'n ffyrnig, gan wneud adwyth blin
I goedydd, teiau, ac ydlanau glân.
Ond ar y môr yn bennaf mae ei rym
Yn ganfodadwy: pan y chwydda'r dòn
I faint aruthrawl, fel pe mynnai'n chwai
Gymmysgu daear â ffurfafen bell.
Mynyddau â mynyddau gwelir draw
Yn hyll ymwrio yn eu gyrfa flong
O flaen y corwynt ag a'u gwthia hwynt
A nerth dychrynllyd ei chwythiadau gwrdd.

Gan lewod rheibus mae taranllyd sŵn,
Ond pe'n cyfarfod y b'ai mil o'r rhai'n,
Mewn digedd eithaf, ni b'ai'u rhuad hwynt
Ddim i'w gymmharu â bytheiriad croch
Y môr, pan yn dygyfor,—pan y daw
Ei gernod orwyllt ar y galed graig.
Gan nerth yr ergyd dacw'r ewyn gwyn
Yn torri'n gandryll, ac yn cilio'n ol,
Gan ddisgwyl hedd yn awr; ond wele'r ail
Ucheldon ffromddig heb arosfa ddim
Yn ei gyfarfod mewn ffyrnigrwydd gwaeth.
Pwy ar y traeth yn aros ar y pryd
Na rydd ei weddi o dosturiol fron
Yn dyner dros y rhai, mewn cyflwr cul,
Sydd ar y weilgi 'mhell o'u cartref clyd?

Ar gil yr aeth y gwlaw a'r dymhestl chwyrn,
Dros amser bychan; wele'r ddaear oll
O gylch yn galed, wele'r ffordd yn grych;
A'r lle yn aros yr oedd arni ddwr
Yn awr gwydredig yw: pob tawel lŷn
A'm traed yn sych caf gerdded dros ei chefn.
Ti elfen ryfedd, ag a dreiddit trwy
Furiau a thô'n hanneddau,—trwy ein gwisg,
A thrwy wythenau y gallestrawg graig,
Pa fodd y caf di, mewn newidiad llawn,
Yn derbyn heddyw ar dy wyneb sych
Fy nghamrau'n ddifreg, fel y garreg lefn?
Y lanaf o'r afonydd, Tywi fwyn,
Pwy feddyliasai wrth dy weled di

Yn cyflym redeg er ys dyddiau'n ol,
Gan lyngcu'r cyfan ar dy wyneb brau
A ddisgynasai, neu'n ei gludo'n wyllt
Hwnt gyda'th ffrydiau i ardaloedd pell,—
Pwy ddisgwyliasai ar d' wynebpryd di
Wel'd argraff hoelion y fath rygnau'n gwneud,
A phlant yn teithio dros dy gefn hoff, gwych,
Fel 'heda'r wennol trwy yr awyr las?

Os wyneb daear ac afonydd glân
Gan rew sy 'nghlo; ac os o borfa'r ddôl
Yr hyn adawyd sydd yn grin a sych;
I ddyn mae'n iachus, os yw'n oer, yr hin,
I rodio allan dan yr awel gref,
A ddyry nerthyd trwy holl rannau'r corph.

Yr hin cyfnewid wnaeth: och! wele'n d'od
Yr eira mân, fel pluf, o entrych nen,
Gan wynnu'r bryniau a'r dyffrynoedd oll.
Olygfa ryfedd! dan un fantell fawr
Ddidwll a chanplyg y mae'r ddaear faith.
Pwy 'nawr o'i anedd a anturia'n hy,
Pan yn gorchuddio llwybr, a ffordd, a ffos,
Mae'r un llenlliain wen, heb arni nôd
O'r man lle dani mae peryglon trist?
Yn awr cynneuir ar yr aelwyd lân
Yn glau y boncyff gyda dechreu nos;
O'r teulu aml yn eisiau ni bydd un;
Cardottyn penllwyd yn y cornel rhydd
Hanesion rhyfedd o'i helyntion gynt;

Tra'r forwyn wrth y rhod, ac yntau'r gwas
Yn diwyd ddarpar, erbyn amser gwell,
Rhyw beth fo'n rheidiol mewn hwsmonaeth lân,
Neu'n rhoi'i gywreinrwydd ac ei fedr ar waith
I lunio llwy neu phíol hardd ei drych.
Yn awr y rhed o ddeutu amryw chwedl
Am yr ellyllon trwy'r tywyllwch du
Sy'n tramwy yma a thraw, gan wneuthur gwyrth
Ofnadwy a dychrynllyd ar eu taith:
Gan droi eu hunain, fel y byddo'u chwant,
I unrhyw ffurf—yn deirw neu yn eirth,
Yn gathau, cwn, neu foch o hagraf wrych.
Canwyllau cyrph a welsent hwy neu rai
O'u teidiau'n cyrchu at y fynwent brudd,
A hyll ysprydion y rhai meirw mud
A ymddangosent i hysbysu'r man
B'ai trysor yn guddiedig—dyma'r fath
Destunau'n faith a drinir trwy yr hwyr.
Y plant dan grynu at y tân nesânt,
Gan daflu mynych olwg at y ddôr,
A llwyr ddych'mygu fod y bwga mawr
Yn disgwyl yno mewn digllonedd cryf.
Mae'n bryd. O Gymru, i'r ffolineb hyn
Ddiflannu weithian o'th ardaloedd têg,
Pan mae Gwybodaeth ar ei cherbyd gwych,
Yn marchog beunydd dros dy fryniau heirdd,
Y fath goelgrefydd sy'n niweidiol iawn
I ieuangc synwyr a meddyliau plant,
I'w gwneud i ofnau'n hydraidd trwy eu hoes.
Yr argraff arnynt a osodwn ni
Yn nydd mabandod, nid yn hawdd fydd byth
Ei lwyr ddiddymu a'i ddilëu ef.

Gweithredoedd cariad a daioni llawn,
I'r eitha'n hael, yw holl weithredoedd Duw,
Ac fod dychrynllyd wyllon hagr, di les,
Yn cael anffurfio ei lywodraeth lân,
Sy'n groes i reswm ac yn groes i'r dyb
A ddylem goledd am ein Crëwr mâd.

Ar dorriad gwawrddydd daccw'r hwsmon glew
Yn gado'i annedd, er mor oer yw'r hin,
(Y gwynt a ruai trwy y nos yn chwyrn,
A rhuai gofal yn ei galon ef
Dros hynt y praidd;) yn bruddaidd iawn y cyrch
I'r man fynychaf b'ai arosfa'r rhai'n:
Efe a'u tywys i'r tawelaf fan;
Ac os ar goll aeth rhai o dan y lluwch,
Efe a wylia gydag enaid trwm,
O bryd i bryd, nes gwelo ar y llen
Ddangosiad cochliw yn arwyddnod cu
O'r lle'r anadlant yn eu cyfyng gell.

Yn gul mae 'nawr ar greaduriaid byd
O natur wyllt, ag sydd ar wyneb dae'r
Yn arfer chwilio, heb gynnorthwy dyn,
Eu hymborth hyd y maesydd ëang draw.
Y geinach, druan! sydd yr amser hwn
Mewn mawr enbydrwydd; ac nid eisiau maeth
Yn unig sy'n ei gwasgu, ond mae mil
O'i hyll elynion gwaedlyd ar y maes;
Ac nid y *digwydd* o'i chyfarfod hi
Yw 'nawr eu hennill a'u rhagorfraint hwynt;

Ond ôl ei thraed ddilynir, nes yn glau
Cyrhaeddyd sicrwydd o'r lle gwnaeth ei nyth.
I ogof fechan rhwng y lluwch a'r clawdd
Mae'th draed yn gweyd it' fyned; ac nid oes
Un nôd o amgylch yn arwyddo'th dd'od
O'th guddle allan,—mae'th sefyllfa'n wir
Yn llwyr beryglus, ac os diangc wnai,
Na ddiolch byth i annhrugarog ddyn.

Yr adar bychain, ar ganghenau'r coed,
Mor bêr a byngcient yn y Gwanwyn mwyn,
Yr hoff fwyalchen a'i chyfeillion glân,
Sy'n awr yn nesu, yn gardottwyr gwael,
I'r ydlan lawnwych ac o ddeutu'r tŷ,
I geisio taliad am amrywiol gaingc
A roisant hwy'n ddiddanwch trwy y fro.
Tra'r byd yn ddi-glo, a thra'r maes yn rhydd,
I loffa gweddill y cynhauaf llon,
Ni ddaethant hwy i geisio ar ein llaw
Un mwyn ymgeledd; ond pan ddarfu'n llwyr
Pob gobaith arnynt, wele'u taith yn hy
At fangre dynion yn eu dyled sydd
Am lawer caniad i ddifyrru'r fron.
Ai dengar ûs i'w hudo 'nghyd yn dorf,
Ac ai cynnwysiad y taranllyd wnn,
Yn gawod boethwyllt o angeuol nerth,
Yn ddiarwybod yw y tâl a gânt?
O lengcyn creulon! arbed—arbed di
Y rhai'n; a rho'th gywreinrwydd oll ar waith
I ladd yr adar-to sy'n difa'r ŷd
Cyn llwyr addfedu ar y ffrwythlawn faes:

Y rhai'n distrywgar ŷnt; gelynion tost
I'r glân amaethydd,—ni theilyngant hedd.

Mor ddistaw 'nawr yw'r gwenyn yn eu tai,
Heb un yn beiddio nesu at y ddôr,
I ddarllain wyneb y ddrygnawsaf hin.
Y pryfed mân, yn lluoedd bywiog iawn,
A rodient wyneb y ddaearen dwym,
A ymguddiasant rhag yr oerfel blin,
Yn nyfnder tywod mewn marweidd-dra swrth.

Y coed a welid yn eu gwisg mor heirdd
Yn ymfalchïo, sydd yn awr yn wael
Yr olwg arnynt; lle'r oedd blodau fyrdd,
O amryw liwiau, ceir pibonwy hagr,
Na wna wahaniaeth rhwng un llwyn a'r llall.
Ar fyr o dro—'mhen orig fer ei thaith,
Y glana' 'i bryd a'r salwaf îs y lloer
A ddyd yr angeu o'r un lliw a llun.—
Yn llu aneirif gwelir cesair cas,
Lle buodd meillion hoff yn gwenu'n llon,
Mor aml â hwythau ar foreuddydd têg
Yr Haf gwresogwych, oedd mor ıwys ei wawr.

Mor groch y seinia yn fy nghlust y gwynt
Rhwng brigau'r onnen dàl a'r dderwen dda.
Er cryfed ydynt, hwy ogwyddant ben
I hwn yn isel, ac hwy deimlant rym
Ei anadl ffyrnig yn ei yrfa chwai.

Y rhai'n cernodia mewn digllonedd mawr,
Yn eiddigeddus o'u cyfodiad hwynt
Uwch eu rhywogaeth; tra'r eithinen wael
Yn cael llonyddwch yn ei hisel 'stad.
Y sawl uwch eraill a ddyrchafo'i ben,
Am glod ac enw ac anrhydedd gwych
Yn fawr ei drachwant, i bicellau fil
Sy'n rhoi'n agored ei aflonydd fron.
Yn craffu arno bydd Eiddigedd gas
A'i llygaid hylym; ar ei gwaith bydd Chwedl,
A'i dannedd duon yn ei frathu'n flin
Y'ngŵydd ei gefn, a boddus iawn fydd torf
Yn uchel ganu yn ei ddyrys gwymp:
Tra'r iselfrydig ar ei dawel daith,
Trwy'r byd helbulus, yn cael pawb yn gâr,
Ac iddo'n barod fyth i estyn llaw
Cynnorthwy'n llawen i leihâu ei gur.

Y Gauaf oerllyd, a'i dymhestlog hîn,
Sydd dymmor addas i Haelioni lwys
I agor ffynnon ei rhinweddau mâd.
Mor hyfryd canfod ei cherddediad mwyn
I'r bwthyn llwydwedd, lle mae'r teulu gwael
Yn hanner-trengu yn eu caban tlawd,
Gan newyn creulon a chan oerfel blin:
Mi welaf draw Haelioni wrth y ddôr
Yn curo'n ddifalch; ac mi glywaf lais
Ar hyn o bryd fel gan delynau'r nef
Yn seinio'n beraidd hyfryd yn y nen.
Yn clau ymddangos, gan drwm syllu'n fud,
O blantos carpiog wele chwech neu wyth

Yn foel eu pennau, ac yn noeth eu traed,
A newyn caled, druain! yn eu gwedd.
Chwi, sy'n ymbesgi ar ddanteithion bras,
Yn cael i'w yfed y pereiddiaf wîn,
A chael ymorphwys yn y nos yn glyd
Ar dwym welŷau têg o fanaf bluf,
Yn llwyr ddideimlad o'r cawodydd chwyrn,
O wlaw a chesair ar y tô a glywch
Yn enbyd guro, cofiwch—cofiwch chwi,
Nad yw yn eiddo pawb y breiniau hyn.
Mae rhai yn gorfod gyda chylla gwag,
Ar wely gwellt a dillad carpiog llwm,
Rhoi'i lawr eu pwys, gan oddef llymdra'r hîn,
A llymdra newyn ag sydd etto'n waeth.
O'ch llawnder rhoddwch yn barodwych ran,
I attal cwynion y trueiniaid hyn:
A chwi cyd-frodyr ŷnt,—yr un eu Tad
A'r eiddoch chwithau, ac nid prawf o'i ddig
Bob pryd yw anfon cystudd ar ei blant.
Anolrheinadwy yn ei ffyrdd yw Ef:
Ond hyn sydd *eglur*,—gwir o'r nefoedd yw,
Mai'r hyn a roddoch i gysuro'r tlawd,
A rowch ar fenthyg i'r cyfoethog Dduw;
A ph'le, er chwilio'n faith, y gallwch gael
Trysorwr sicrach a thaliedydd gwell?

Gan rew ac oerfel os clöedig yw
Wynebpryd daear, ac os cilio wnaeth
Gwresogrwydd anian i'w thufewnol barth,—
Os eira mân sy'n cuddio bro a bryn,—
Ac os anhyfryd ydyw gwedd ein byd,

Nid yw ymweliad rhew nac eira 'chwaith
Heb les arbennig, gan mai puro wnant
Y gweryd briw, a lladd pryfedach mân,
Sy'n sugnaw nodd a holl nawseidd-dra'r pridd.
Mae cwsg i ddyn a phob creadur byw
Er adnewyddiad nerth yn rheidiol faeth:
Fel hyn ein daear yn y GAUAF sydd
Yn cael ei sio gan y gwyntoedd croch
I gymm'ryd hun a mwyn orphwysdra pêr,
Fel bo'i deffröad mewn 'chwanegiad grym
A thelediwrwydd, ac yn gwisgo'i hun
A myrdd o emmau, nes y byddo'r haul
O gariad atti yn ymwel'd â hi
'Nawr yn foreuach, ac yn edrych fel
Pe byddai'n glaf wrth adaw yn yr hwyr.

Mae olwyn amser a'r Tymmorau oll
Yn cael eu dirwyn gan alluog law
Creawdydd nattur, ac mae'i ofal ef
Yn ddisglaer danbaid trwy ei waith i gyd.
Haelionus Dad! pa un ai Gwanwyn têg
Fo'n gwisgo'r llawr â hyfryd berlau llon,
Neu Haf a'i wres yn poethi bryn a dôl,
Neu Hydref ffrwythlon yn coroni dyn
Ag amledd didrai ei drysorau mâd,
Neu'r Gauaf llwydwyn yn marweiddio'r tir,
Wyt ti, 'r un modd i'th weled. Geli mawr,
Yn oll o'th waith yn berffaith ac yn bur,
Yn llywio'r cyfan trwy ddoethineb gwych,
Mewn nerth yn gadarn—o dosturi'n llawn.
Mae llygad ystyr yn dy ganfod di

Pan rua'r daran—pan ddisgleiria tês,
Pan wawria borau, a phan ddisgyn nos.

Yn Ngaua'r flwyddyn y mae cynllun gwir
O auaf einioes brau, fyrhoedlog ddyn.
Mae'r llwyni'n foelion,—hefyd moel yw pen
Yr hen-wr egwan,—crych yw wyneb dae'r,
A chrych yw gruddiau Henaint oer ei naws:
Cymmylau hefyd sydd yn rhestru'n aml
Ar wyneb Senex[c] lle'r oedd gwenau fil.
Yn awr os gauaf yn teyrnasu sydd
Yn faich gofidus ar ein hanial wlad,
Daw Gwanwyn melus, a daw Haf cyn hir,
I lasu'r coedydd, ac i harddu'r ddôl:
Fel hyn os Henaint sydd yn orthrwm wae,
Ac os rhaid gostwng dan ei bwn a'i lwyth
I'r distaw feddrod, y mae gobaith sicr
I'r cywir Gristion y daw Gwanwyn glwys,
A Haf tragywydd o ogoniant llawn,
I wenu arno, mewn gwynfydig fan;
Uwch poen, uwch tristyd, ac uwch ofnau byth,
Yn nidrangc dawel deyrnas Duw â'r Oen.

---

c Y gair Lladin am Hynafgwr.

# ERFYNIAD AM WLAW.

**Mehefin**, 1826.

Ti erchaist ini, 'n Tad o'r nef,
  Ddyrchafu'n llef i'th orsedd,
Er cymmaint yw ein bai a'n cam,
  A galw am d' ymgeledd.

Mae gwisg ein dae'ren heddyw'n wael,
  O Arglwydd hael, dihidla
Y mwyn gafodydd etto'n ir,
  Wrth wedd ein tir tosturia.

Mae'n boeth yr haul,—mae'n gras yn hîn,
  Y gwair yn flin ddiflanna ;
Yr ydyn godai'i ben uwch dôl
  Yn raddol y marweiddia.

Mae'r anifeiliaid ar y maes
  A'u gwedd yn llaes,—a'r llysiau
A wywant gan y gwres di dwn ;
  Trist gweled pwn eu pennau.

Mae'r bryniau'n goch,—a'r ddôl oedd hardd,
  A ffrwythau gardd yn crino,
Ac ymborth dyn dros ddydd a ddaw
  Mae myrdd mewn braw am dano.

Mae agwedd anian oll yn glaf;
O! anfon, Naf y nefoedd,
Y gwlaw i'n plith o gelloedd gwawl,—
Cei gynnes fawl gan filoedd.

---

## HAELIONI.

Dyrchafa, f' Awen, dyro gân
O glod i lân Haelioni,
A gosod hon i'r byd i ma's
Mewn gwisgoedd addas iddi.

Os mwyn yw gwawr—os hoff yw gwên
Y seren firain forau,—
Os hardd yw clôg y gwanwyn gwyrdd
A'i liwdeg fyrdd o flodau,—

Os glwys yw lliw yr haulwen dêg
Uwch bryn wrth gudeg godi,—
Nag un o'r rhai'n, sy'n gain i gyd,
Mae'n lanach pryd Haelioni.

Mor foneddigaidd i bob un
Yw'r anwyl fûn addfwynaf,—
Mor barod byth i roddi'n fwyn
Rhwydd glust i gŵyn y gwannaf.

Mor hardd ei chamrau, 'r gauaf o'r,
  I alw wrth ddôr y rheidus,—
I edrych a fydd eisiau bwyd
  Mewn bwthyn llwyd, trallodus;—

I estyn llaw o gymmorth llon
  I godi'r galon gulwedd,—
I wrando llef yr henwr gwan,
  A noddi'i drwstan dristedd.

Y deigryn tawel ar ei grudd,
  Mwy purlan fydd nâ'r perlau
Y'nghoron un tywysog mawr,
  Neu unrhyw ddrudfawr emmau.

Dwg faeth i galon glwyfus, drom,
  Y weddw lom anniddan,
A chysur hoff a rydd o hyd
  Lle gwnaeth y drygfyd drigfan.

Myfi a welais lawer gwaith
  Yn oergell laith carchardy,
Yn attal loesau gwae a gwŷn,
  Dy hyfryd lûn, Haelioni.

I'r hen a'r 'nafus hardd-dai cain
  Trwy Frydain, uwch rhifedi,
Bob dydd sy'n codi borau gân
  O fawl i lân Haelioni.

Mi glywaf weddi llawer mil
  Am lwyddant hil Haelioni,—
A thorf liosog, rif y gwlith,
  Yn dadsain "Bendith arni."

O byddwn blant i'r lwysferch hon
  O ffyddlon union enaid;
Cawn weddi dyn,—cawn Grist o'n rhan,
  E'n dwg i'r man bendigaid.

Ni gawn o'n cylch holl Nattur fwyn
  I ddyn yn dwyn daioni,—
Pob peth yn dilyn siamplau mâd
  Tirionwch Tad tosturi;—

Yr haul yn gweini dydd a gwres,—
  Y ddaear gynnes geinwych
Yn rhoddi ŷd a ffrwythau llon,
  Mewn agwedd hylon haelwych.

Cawn ffrydiau llawnaf, bob rhyw ddydd,
  O gariad Dofydd dwyfol
Yn amgylchynu llwybrau dyn,
  Ac yntau'n wyfyn marwol.

Oll, oll o'n cylch, ai gwel'd a gawn
  Fel hyn yn llawn daioni,
Heb deimlo'r fynwes dêg yn dân
  O serch i lân Haelioni?

A ro'wn i'r truan, dan ei bwn,
  O'r teimlad hwn ddim profion,
Drwy rannu o'n llawnderau ni
  Ryw faint i laesu'i loesion?

Pan wnelom wledd, a'n byrddau'n llawn
  O ethol iawn ddanteithion,
A gaiff 'mo'r caban tywyll, du,
  'I ddiwallu â'r gweddillion?

Ni phery'r byd ond ennyd awr,
  A'i drysawr a'i deganau;
In' drysor gwnawn,—na fyddwn ffol,
  Ar fythol freiniol fryniau.

Mor ffiaidd ydyw'r cybydd cas,
  Ddyn brwnt, di ras, di reswm,
Yn byw y'nghanol aur a bwyd
  Yn adyn crinllwyd croenllwm.

Ei galon galed byth ni thawdd,
  Mae mor ddi nawdd â'r garreg;
Ni wêl na loes, na chroes, na chri,
  Un rhad o honi'n rhedeg.

Ond gwrando, ddyn,—mae gair dy Dduw
  Yn haeddu'th glyw manylaf;
Yr adyn ffol, pa le mae'th ffydd
  Y'ngwobrwy'r dydd diweddaf?

A gedwi'n gaeth o fewn dy gôd
  Dy drysor darfodedig,
A Duw'n dy gymmell i roi rhan
  I'r tlawd a'r egwan unig?—

Yn dweyd mai poenau uffern ddu
  Fydd rhan y di drugarog,
Na rydd ei glust,—na fydd yn frawd
  Y'nghwyn y tlawd anghenog,—

Yn addaw bythol wynfyd têr
  Yn ardal bêr y bywyd,
I'r sawl a ddysgo sychu'n glau
  A'i gyfoeth ddagrau gofid.

---

## MOLAWD IESU.

"Efe a archollwyd am ein camweddau ni; efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni; cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef; a thrwy ei gleisiau ef yr iachâwyd ni." Esay liii. 5.

Ysbryd yr Iôn mwynlon mâd
A ddisgynnaist, ddwys Gennad,
A swn mawr croywfawr cryfwynt
Ar yr Wyl dêg anwyl gynt,
Yn dân, gan roddi doniau,—
Wyrthiog lên, ac araeth glau,—
Ti elli wneud i'r t'wyllwch
Oleuo a fflammio'n fflwch;

Pura fi, ac O! pâr fod
Yn hyfedr iaith fy nhafod,—
Tyred â'th fwynwres tirion
I 'mryd,—bywioccâ fy mron,—
Estyn ronynyn o'th nerth
Doniol i adyn dinerth;
Felly canaf, hwyliaf f' hun
I iawn ystyr fy nhestun.

Dewiswn, y da Iesu,
Roddi cerdd yn arwydd cu
O'm cariad a'm cywirwych
Serch attad, fwyn Geidwad gwych.
Haeddai'th haelder bêr ddi baid
Gân fwyn o eigion f'enaid.
Daethost, fy Mhrynwr dethawl,
O lwys a gwyn Lys y gwawl,—
O'r nefoedd eirian wiwfyg,
Y fan lle'r oeddyt mor fŷg,
I'n daear o fwyn duedd,
Yn druan, yn wan dy wedd,—
Dros ddyn, er ei drawsedd o,
I warth gwael er gwrthgilio,
O'i drallod i'w gymmodi
A'i nefol, ei rasol Ri.
Heb un urdd, anwylfab Naf
Yn sylwedd dyn iselaf,
A welwyd dan ei alaeth,
Heb glydwr, mewn cyflwr caeth:

Gwely yr ych, gwaela' ran,
Gai Aer coronog eirian
Y bydoedd,—pwy arbedai,
Wedd drist, y dagrau'n ddi drai!
O'i wlad ffoi draw rhag llaw llid,
Iawn gyfaill, a dwyn gofid
Yn faban orfu hybarch
Oen Duw byw, fel un di barch.

Dirwysg y teithia'n dae'ren,
Biler byd, heb le 'roi'i ben,—
Ei fwyn wyrth cyfrif a wnaid,
Boen duflin, i Ben diaflaid,—
Melldith am iaith bendith bur
Gai'n dâl, er gwŷn a dolur,—
A chwerw athrod tafod dig
Am ei roddion mawryddig.
Dros fyd, yn hylldraws ei fai,
Drom agwedd, a'i dirmygai;
Chwysodd ein mâd Bennadur
Ddafnau gwaed dan ryddwfn gur.
Yn glaf iawn gwel ef, f' enaid,
Ow! boen blin, heb un o'i blaid,
Yn yfed cwppan afiach
Llid ein Rhi, fel doem *ni*'n iach.

Cofiadau golau gwiwlan,
Deg Lyw, am dy gariad glân,
Dy wylofain, dy lafur,
Hael Oen Duw, dan hoelion dur,—

Dy boen tost, dy benyd du,
Dy loesion, diwael Iesu,
Dy oer gri'n dlawd ar y groes,
A daioni dy einioes,
Cyffröant, siglant, ddwys Iôn,
Ddirgelaidd wreiddiau'r galon.

Fel yn drist etto'n ddistaw
Yn lân â'r ddafad tan law
Ei chneifiwr, dan gyflwr gwael,
Yn ufudd iawn i'w afael,
Arweiniwyd Iôr y wiwnef,
Ddifai Grist, i'r lladdfa gref.
Da ras haelddwys, dros sal-ddyn
Ddofydd hoff, goddefodd hyn,—
Drosom *ni*—rai yn drawsaf,
I'n nych a ddigiasom Naf:
Dygodd ein cospedigaeth
Ni, dan drwm gynni'n gaeth:
Eiddilaidd os bu'i ddolef,
Ein bai ni oedd ei bwn Ef,
A thrwy'i gleifion uthr glwyfau,
Glyw'n hedd, cawsom ni'n glanhâu.

Megis wedi'i ddirmygu
Gan Dduw Dad, ein Ceidwad cu
Bernid, gwelid fel o'r gwyr
Y salaf rhwng iselwyr;
Ond Duw fynnai, luniai'n lân
Gystuddio y gwas diddan.

Am roi'n glaf dan lymmaf loes,
Wâr Ion, i lawr ei einioes,
Yn loywfyg gwel o lafur
Ei enaid heb baid, wr pur.
Am hyn y rhan, eirian Nêr,
Yr ysbail yn eresber
Gyda'r dewrion, union wr,
Uwch ereill yn wych arwr.

Os isel fu'th oes, Iesu,
Mae heddyw'n lân y gân gu,
Yn gain foliant gan filoedd
I ti, fwyn Geli, yn g'oedd:
Ac hefyd pery'r cyfarch,
I'r Oen byth yn eirian barch.

Gwel ei had yn gail hydeg,
Uwch pob pla yn dyrfa deg
Yn Seion, â llais hoywych
Yn llanw o'i fawl holl nef wych.
Ucheled, dynned fydd tant,
Gun Iesu, 'r rhai gannasant
Eu gynau yn ei geinwaed,
Ei ddrudfawr, ei werthfawr waed.
O'r cystudd caeth y daethant
Wiwlan ffo, o lŷn a phant
Wylofain, i le hafaidd,
Un cri ei boeni nas baidd.

Teilwng y gwelant dalu
Goreu gerdd yn gywir gu
Am fan mor hyfryd anwyl,
Am dragywydd wiwrydd ŵyl.

Gan deulu hoff iawngu'r ffydd,
Yn ail i rif dail dolydd,
Ar ddydd glwysbryd hyfryd haf
I'w teimlo pan b'ont amlaf,
Hosanna a hoyw seinir,
Mewn profiad o gariad gwir,
I'r Oen a roes, trwy rinwedd
Ei waed glân, y loywlan wledd.
Ei ing a gwerth ei angau
Fydd destun i glymmu'n glau,
Dien gâr, ei glod yn g'oedd,
Hynaws Iesu, 'n oes oesoedd.

Meddyliaf, mewn modd hoywlon,
Y clywaf eu dwysaf dôn,
Ar seirian lân delynau
Eu hemyn hoff yn mwynhâu.

I'r Oen,—i'r Oen iawn ranner
Hwylus barch yn felus bêr,—
Iddo Ef a oddefodd
Warth yn bwys, fel wrth ein bodd
Y b'om ni,—heb ofni byth
Drwg ofid yn dragyfyth.

O wasgfa, odfa adfyd,
I ganu'n bêr,—gwyn yw'n byd,—
I le'r hedd o lawer rhwyd,
I wledd yr Oen a laddwyd,
Y daethom:—O! 'n Duw ethawl,
Gwin i'th feib yw gweini'th fawl.
Bro yw hon o fwynbur haf
Tragywydd,—nis tỳr gauaf
Ein llon-gan a'n llawengerdd;—
Bro in' yw a bery'n werdd.
Gwelwyd trechu, baeddu bâr,—
Un gelyn er ein galar,
Un dryghin, un blin oer blâ
Neu ddamwain ni ddaw yma.

Am y Ne', deg le, da'i glod,
Clywsom, ein Celi, isod,—
Ond difedr oedd un tafawd,
Drwy iaith ffydd, i draethu ffawd
A gogoniant gwiw gu-nef,
Seion a'i Lys anwyl ef.
Pŵl pob *meddwl* am y man
Heb *weled* y lle bywlan.
O! ddidwyll ryfeddodau!
Wynfydig, arbennig bau!
O! fannau anwyl-fwynion!
O! eirianwedd annedd Iôn!
Cedyrn yw'r muriau cudeg,
Ein Duw a'u seiliodd yn dêg:
Treiddio ni ddichon trwyddynt
Y daran goch, dwr na gwynt.

Hyfryd ŵyl lawn hwyl yw hon,
Gŵyl lân, uwch swn gelynion:
Yn gu pob telyn a gair
Ac awen oll mewn cywair.
Gwên Oen Duw gynneua'n dawn,—
Heddyw mae'n cerddi'n hyddawn,
Wrth ein bodd—mae'r iaith yn bêr
Yn llifo heb sill ofer.
Cain yw miwsig cân Moesen
A'r Oen o hyd—ni thry'n hen.
Mawr gôr mewn môr o gariad
Sy'n dy foli di, O Dad,
A'r Un (werthfawroccaf rodd)
Yn lanaf a'th foddlonodd.

Dyled na allem dalu
Yn faich ar dy weision fu:
Llwytho'r iad a llethu'r oedd
Ein briwedig ysbrydoedd,—
Ond wele ni'n gweini'r gân
Wedi'r cwyn, ar dir Cana'n
Ni haeddasom, dda Iesu,
Olud a gwerth y wlad gu:
Dy waed, fwyn gâr, a'n dodwys
Yma'n glyd mewn lle mwyn glwys:
I ti, ar ddeheulaw'r Tad
Yn eistedd wyt yn wastad,
Yn rhedeg boed anrhydedd
Mal teg win,—mawl iti gwedd,—
Ein gwir-Dduw mwyn, ac urddas
Am amledd o ryfedd ras.

Fal hyn yn pêr foliannu
Bydd y dïen, lawen lu,—
Yn addoli'n iawn ddilyth
Crist eu Pen, heb orphen byth.

---

## DWYS FYFYRDOD.

Tad fy nawn, tydi fy Nuw,
Dda, haelddoeth drag'wyddol-Dduw,
Côr hoywbur y Cerubiaid
Gân, uwch sêr, yn bêr ddi-baid,
Gannoedd, ar dir gogoniant,
Dy fawl di â dwyfol dant,—
Fâd Iôn, beth yw'm tafod i
Eiddilwas, i'th addoli?
Etto cymmer, dyner Dad,
Y Por mawr, (pur yw 'mwriad,)
Gennyf a *allwyf* ganu,
Adyn gwael, i'th glod yn gu:
Duw Iôn, gad im' dy annerch,
Llawn gwres wyf—llawn geiriau serch;
Gwrando ar lwyd abwydyn,
Rasol Dduw—ar isel ddyn.

Yn ddidawl gwir fawl a fo,
Llawnaf it' am fy llunio,—

Fy ngalw i fod—fy ngholedd
Trwy'm mebyd o hyd mewn hedd,—
Yn fadiain am addfedu
Y côf a'r cynneddfau cu,—
Am roddi im' arwyddion
Goruwch rhif dyfrllif y dòn
O'th fwynder a'th dynerwch
Mwyn a llon—a mi yn llwch.

Uwchlaw dim, fy uchel Dad,
Molaf di am d' ymweliad
A dyn pan y'nghyflwr dwfn
Tywyllddu pechod dallddwfn,
Trwy dy anwyl—trwy d' unig,
Fab difai a dynnai'r dig.
Agoraist trwy dy gariad,
Ffordd newydd, yn rhydd, yn rhad,
Trwy Iesu fu farw trosom
Fel byw i dy fawl y b'om.

Dyfodfa, os du f' adfyd
Dan sâl friw—dan isel fryd,
Fy Nhad, sydd attat etto,
Drwy'i glaf ing—drwy'i glwyfau o
Ar led O rheded yn rhydd
O fy enaid afonydd
O gariad at y gwir-Oen,
Dan y baich bu'n dwyn ei boen.
Os adyn clwyfus ydwyf,
Yn Oen Duw yn wan nid wyf,—

At Iôn tirion anturiaf,
A groeso ganddo a gaf.
A oes cil isa calon
Nad yw'n frwd—un dyn o fron
Ddrylliog, na ddyry allan
I'r Iesu cu wresog gân?
Y glwys-Oen, trwy ei gleisiau
A'i chwŷs cawsom ni'n hiachâu:
Dorau nef, wych dirion waith,
Agorodd trwy ei gurwaith.

Pan bo'r ddaear hygar hon
Yn ulw,—a'i dymunolion
Bethau ar lwyrgoll bythawl,—
Pan na rydd seren wèn wawl,—
Yn oer niwl pan byddo'r nen,
Heb yr ol lle *bu*'r haulwen;—
Os gwiwnef a glwys ganu
Yn ber a gaf mewn bro gu,
Enneiniog Duw, 'r Oen anwyl,
A brynodd, a rôdd yr ŵyl.
Os gwaith cu yw clymmu clod
Da Iesu mewn byd isod,
Caerau hedd os cyrhaeddaf
Yn fil gwell ei foli gaf,
Yn ddiderfyn ar dŷn dant,
A melus fydd y moliant:
Y gân fydd well nâ gwinoedd,—
Llawnaf flŷs fydd llawen floedd

Hosanna, yn llys hoywnef,—
Uwch du gur—a chydag Ef.

---

## ANNERCH Y DUWDOD.

O Dduw mawr, seilydd muriau
Y nef bur, eirianaf bau,
Pa le am iaith faith—pa fodd
Y medraf iawn ymadrodd
I ddatgan, gulan Geli,
Yn dda dêg dy fawredd di?
Awdwr y cyfan ydwyd,
Bywyd oll yn danbaid wyd.
Yn g'oedd y bydoedd uwch ben,
Siriolaf sêr a haulwen,
Tystiant pan fflamiant yn fflwch,
Dy allu ar dywyllwch.
Lluniaist y mwyngyrph llonwawr
Harddaf a gwychaf eu gwawr,
O ddim, gan wedyd yn dda,
"Byddwch" a hyn a'm boddia.

Dy law, ein Duw, deil yn dêg,
Gadwyn holl anian gudeg,
Ar ennyd a ymrannai,
O barch i'th wych arch yn chwai.

Cawraidd os rhua'r corwynt,
Dy air rhwydd a dŷr ei hynt;
Dan dy gaeth lywodraeth lân
Derwych, mae gyrfa'r daran:
Ti wnaist, ti wisgaist y wen
Oreubryd eglur wybren
Yn llawn gemmau llon gymmwys,
Heb ri' yn y glasni glwys:
Cannaid wedd, er ceined ŷnt,
Yn hylwydd iawn eu helynt,
Edwina, hena'r rhai hyn,
A llwydant fel dilledyn,—
Ein Tad, etto'r *un* wyt ti
Uwch anaf, poen a chyni,—
A'th flwyddau, ddwys orau Sant,
Os meithion, byth nis methant.
Yn eglur dêg gwelir di,
Dduw uniawn, a'th ddaioni
Ym mhob peth—heb feth yn fwyn
Ddeddfwr a Llywydd addfwyn.
Wyt Fod heb adnabod nos,—
Tywynu a wna tew-nos
I ti, fel goleuni glân
Siriol yr hafddydd seirian.
Y lonwawr nef a lenwi
Dirion Naf, a'n daear ni:
O'r rhwyd i b'le y rhedaf
Gu Ner, os dy ddigio wnaf?
Trigfan, yn hoff wiwlan ffo,
Ni bydd un heb Dduw yno.

I'r dyn doeth a rodia'n d' ŵydd,
Têr ymgais, ni ddaw tramgwydd
Na blinder na chwerwder chwith;
Dy fwynder a dy fendith
A'i tariannant trwy 'i einioes,
A Ne' lân a ga 'n ail oes.
Gweled dyfnderau'r galon
A wnei di, bob ennyd, Iôn:
Y dall, a gais dy dwyllo,
Yn wir fawr y siommir fo.
Hyll hynod dwyllo'i hunan,
A wna'r gwr o synwyr gwan.
Cela rhag dyn mewn c'wilydd
Y du fai,—a Duw a fydd
Yn gweled ar lled yn llwyr
Ei helynt oll yn hylwyr.
Duw addfwyn, fel yn d'wyddfod
Di, y byddwyf fi am fod
Beunydd—yn caru'n bennaf
Y gwir noeth a geiriau Naf.
Yn anwyl ffordd unionedd
Boed fy mryd o hyd, yn hedd
Cydwybod, a'r Bod sy'n ben
A Naf dewr nef a dae'ren.
Diau 'nol cael Duw'n elyn,
Ni lesâ tyb dda gan ddyn?
Un dyn ni saif ond ennyd,
A'i barch i felysu'm byd:
Gyda'm Ner a'm mad Berydd,
Fy nhaith yn hir faith a fydd.
Duw imi fydd gydymaith
Am oed trag'wyddoldeb maith

Ar yrfa gyda'm gwiwdeg
Hyfwyn Dad yr wyf yn deg,
Yn ddeiliad iddo'n ddilyth,
Yn was byw i oesi byth;
Gwell i mi golli 'mywyd
Na'i ddigio er boddio'r byd.

I'r enaid mwynwar union,
A rydd ei olud ar Iôn,
Yn ei gariad mad mae mêl,
A thywydd têg a thawel:
Hedd o fewn y dda fynwes
Yrr trwy'r yspryd hyfryd des,
A bydd o hyd fy myd mwyn
Yn gwenu fel y gwanwyn.
Cofia Duw am y cyfiawn;
Ei fwrdd yma llenwa'n llawn:
Wrth oddef bydd borth iddo,
Oleu fraint, yn anial fro
Marwolaeth,—bydd faeth, bydd fur,
I'w ddal o dan ei ddolur.
Yn ol ing a niwl angau,
Ca wledd mewn hedd i'w mwynhâu,
Yn llawen bêr, lle na bydd
Un drwg wae yn dragywydd.

# DYDD Y FARN.

**Mesur—"Gwêl yr Adeilad."**

Epallai pan bo Nattur,
Mewn gwisg ardderchog fwynbur,
Yn harddwych wenu;
Pan byddo clog y coedydd
Yn gain, mewn gwawr ysplennydd,
Yn mwyn olygu;
Y bydd, it' ddarllain ar ryw ddydd
Fy ngwirddwys ganiad, ar ymddattodiad
Holl anian lwysfad a'i rhaniad; pan y rhydd
Yr hanes iti syndod,
Dan gysgod têg y gwŷdd:
Ond daw, yr amser llawn o fraw:
Y gwir ymadrodd Duw a'i llefarodd,
Yr hwn a ffurfiodd, a luniodd nef â'i law,
Yr hwn wna'r gwynt i bwyllo,
A'r môr i dreio draw.

Y creigiau cedyrn mawrion
Ar ennyd yn ysgyrion
Rhoir ar wasgariad;
A chwymp yr uchel fronydd,
Y'nghŷd â'r talion elltydd,
A'r un ysgogiad:

Yn dân, aiff harddwch nattur lân;
Ein daear dodda gan wres erchylla',
Trwy'i pharthau mwyna' a hagra'n ddiwahan;
A gwyrddion lysiau'i gerddi
A'i meini'n ulw mân.
Rhyw ddydd, ofnadwy iawn a fydd!
Dydd braw a gwelwi, dydd mawr y cyfri',
Dydd barn Duw Celi, sydd ini'n rhoddi'n rhydd
Uchelbris ddoniau glwysfad,
Mewn cariad heb ddim cudd.

Daw Iesu gyda'i weision,
Gôr harddwych o Angylion,
Ar y cymmylau;
Ac udgorn yr Archangel
Rydd ddolef gadarn uchel,
Trwy'r ban[a] wybrenau;
A'r rhai, fo'n gorwedd yn y clai
A than y tonnau, mewn cudd ogofau,
Ddont yn filiynau, o'u holl garcharau'n chwai,
Ryw dyrfa fawr o feirwon,
Rifedi meillion Mai:
I'r lan, yn glau e'u cyrchir; pan
Y cânt eu dedfryd, mewn trag'wyddolfyd,
Yn bur ddedwyddyd, a rhwyddfyd byth i'w rhan;
Neu ynte wae truenus,
Mewn llwyr anfoddus fan.

---

*a* Uchel.

Y rhai fu yma'n rhodio
Y'ngwyddfod Duw, gan bwyllo,
Yn wâr eu llwybrau,
A pharchu'r Arglwydd Iesu,
Yr hwn a ddaeth i'w prynu
O'i gariad gorau;
Y rhai'n, yn dorf wynfydig gain,
A gânt roesawiad i mewn i'r fwynwlad,
Lle mae y ganiad o felus wiwfad sain,
Uwch glŷn dychrynllyd Angau,
Uwch ofnau drygau drain:
Mewn gwledd, o amgylch Duw a'i sedd,
Cânt weled Iesu, fu yma'n gwaedu,
Gan, yn anwylgu, iawn wenu yn ei wedd,
Mewn mwynder o'r hwylusaf,
Dros byth a hoffaf hedd.

Y rhai fu yma'n gwatwor
Eu Duw, heb wneyd ei gyngor
Na phrisio'i eiriau,
Gan ffolaf gau eu llygaid
Yn erbyn golau tanbaid
Efengyl orau,
Gan fyw, 'n rhy ffiaidd, er y'nghlyw
Glân air y nefoedd, gair Duw y lluoedd,
Sy'n gwa'dd yn gyhoedd i'r lleoedd hardd eu
lliw,
A chymmell pawb i bwyllo
A pheidio digio Duw;

I'r llyn, llawn gwaeau ca'r rhai hyn
Yn glau eu danfon, yn hyll gaethweision,
At uffernolion i boenau salwon syn:—
Rhyw barch, er hir amynedd,
I'w fawredd Duw a fyn.

Tydi sy'n rhodio llwybrau
Llwyr groesion i reolau
Y nef oreulan,
Mewn pechod yn ymrwydo,
Pa beth wyt ti'n ei addo
I'th daith anniddan?
Mae Duw, (a'i air gwirionedd yw)
Yn eglur wedyd fod dydd dychrynllyd
I dd'od ar ennyd:—cyn delo'r clefyd clyw;
Peth tost yw poen trag'wyddol,
Iawn geisia fythol fyw:
Mae'th Dad, yn caru dy iachâd
Fil, mil o weithiau yn well nâ'th boenau;
Cais di'n wir forau feddiannu'r muriau mad
Sydd iti'n barod anrheg,
O fewn y loywdeg wlad.

# Y GALON.

"Y galon sydd fwy ei thwyll nâ dim, a drwg ddiobaith ydyw pwy a'i hadwyn." Jeremi xvii. 9.

Dirgelaf le ydyw'r galon;—edrych
  I'w anhydraidd eigion
Nid ellir,—diau deillion,
Er pwyll, ŷm i hagrdwyll hon.

Gwâl addoer[a] yw i gelwyddau;—enllib,
  Ac anllad ddrwg eiriau
A gwnnant, och! i'r genau,
I friwio hedd a'i freuhâu.

Yn dala mae'i hudoliaeth—y callaf;—
  Colli wna gwybodaeth
Wrth bwyso, er gwylio'n gaeth,
Y galon—gwae ehelaeth.

Glân hynod ei galon ei hunan—fyth
  Dyn a farn yn fuan;
O'r golwg, is mawr geulan,
Gudd dwfn, y mae'r fagddu dân.

Pwy hygar wr gwâr, gwirion,—yn wiwdeg
  A edwyn ei galon?

---

a Oer.

Gwneyd yn annoeth y doethion,
A'i gweniaith hyllfaith, mae hon.

Ow! gell lawn dichell oer, du;—yn boenus
Pob enaid mae'n dallu:
Tywyllwch gaiff fantellu
Baw yn llwyth a beiau'n llu.

Yn ei ddydd Dafydd, er dwyn—yr oenig,
Ran Urïas addfwyn,
Er brad ac anllad gynllwyn,
Nis teimlai, nis gwypai gŵyn.

Yn fuan Nathan ddynoethai—y drwg,
Gan ei drin yn hyllfai
O'r bôn; etto'n hir y bai
Y galon gas a gelai.

Gwilia, ddyn, ar dy galon—yn fywiog;
Na feia'th gym'dogion,
Cei'n nes, yn y Sarphes hon,
I'w ddiwygio lawn ddigon.

Yn angall na chwil wallau—rhai eraill,
Rhy eirwon dy lwybrau,
Adyn ffol, a'th fron *ai* n ffau
A dewr ogof pob drygau.

Y drwg sydd yn agos i dre',—lladder
Er llwyddiant ef gartre'

Yn llon, canys dyma'r lle
Gwna ei ôl freg anaele.

Iawn ymladd di ag anamlwg—waeledd
Dy galon lawn hyllddrwg;
Y'ngheubwll, twll tywyllwg,
Dy fron ddu cais drechu'r drwg.

---

## BODDLONRWYDD.

Foddlonrwydd, ble'n gwenu mae'th wyneb mwyn llon,
Gan weini tawelwch hyfrytaf i'r fron?
Nid oes i Bererin, yn nyffryn oer du
Y gofid a'r galar, gyfeilles mor gu.

Un ydwyt â moddion, ferch lwysgu, i'th law
I godi'r drom galon, i ymlid pob braw:
Gwna 'mwth it' yn annedd, a dysg imi'th lais,
Mewn byd o orthrymder a thrawsder a thrais.

Dy fynwes di'n dawel bob amser a gaf,
A'th wedd yn hyfrydlon fel hinon yr haf;
Ac arnat mor ddinerth y gofid a gur
A'r gwyntoedd ar greigiau a muriau y mŷr.

Mi'th welais, Foddlonrwydd, yn llawen gàn waith
Rhwng plantos yn chwarae, wrth fwthyn llwyd, llaith,
Ac yno'n hir aros, yn fwyndlos lân ferch,
Tra mawrion yn ofer ddeisyfu dy serch.

Pan byddo gofidiau'n ymchwyddo'n dy fron
Yn donnau cynddeiriog, Boddlonrwydd, fun lon,
A ddofa'u llidiawgrwydd, a'r galon oedd glaf
Fydd lawn o bob gwynfyd, dwys hyfryd dês haf.

Bydd imi'n garedig; â'th law dyner wen
Oddiar fy ngolygon tyn ymaith y llen,
A gâd imi weled pob peth fel y mae,
Nid chwant lle mae digon, nid gwên lle mae gwae.

Y palas godidog, uchelfrig, gwych draw
Gaf wel'd yn llawn llwybrau y gofid a'r braw;
Tra llu arno'n syllu mewn syndod di lyth,
Y'nghronglwyd y fangre gwnaeth gofal ei nyth.

Anneddau mawryddig a rhodres y byd,
Boddlonrwydd a garaf yn well nâ chwi 'gyd:
Ar fer-daith ei fywyd, â'i oes megis hûn,
Ychydig, pe gwelai, sydd ddigon i ddyn.

Foddlonrwydd, yn rhodio o ddeutu'm bwth i
A'th fwyn chwaer, Amynedd, yn llaw-law â thi,
Y'th welwyf yn fynych yn dawel dy bryd,
Ac yna bydd hoenus a melus fy myd.

Dysg imi iawn brisio teganau'r byd hwn,
A chofio dan ddolur nad hir pery'r pwn,—
A chwyd fy ngolygon at fryniau'r hoff wlad
Lle mae im' wych urddas yn Nheyrnas fy Nhad.

Dysg imi ystyried o ddyled i Dduw
Faint sydd am fendithion heb rif o bob rhyw;
A byth i ymostwng yn dawel i'w law,
Os am fy nhroseddau'n geryddol y daw.

Os yma'r wy'n caffael yr enllib a'r gwawd,
A chael imi'n elyn un dybiais yn frawd;
Mae Duw imi'n gyfaill, ni chaf fyn'd ar goll;
Mae'i fraich yn alluog, mae im' oll yn oll.

---

## Y WENYNEN.

Os canaf nis haeddaf sen,
Yn iawnwych i'r Wenynen,—
I fawl creadur mor fach,
A thafod parod, puriach
Gwanwyn llon, tirion torrodd,—
Yn wiwlan wych daeth ail nôdd
I wreidddiau llysiau llesol:—
Iraidd wawr sydd ar y ddôl.

Yr awel sy'n bêr rywiog,
Ac ar waith wel-accw yr ôg[a],—
A'r ŵyn fry ar eirian fron
Galwant eu mamau gwiwlon:
A hithau, yn hoyw weithian,
Y wan, lew, Wenynen lân,
A'i thraserch at ei thrysor,
Yn ddistaw a ddaw i'r ddôr:
Bellach ei chwsg a ballodd
A'i thrwm hûn, hoff un, a ffodd:
Gwlaw a rhew wnai'n gul ei rhan;
O'i chell yr edrych allan,
Yn ebrwydd i'r gain wybren,
Pa nod sydd yn bod uwch ben.
Hi anturia gyda'r gwynt,
Fore heulog; fyr helynt;
Nid oes un man dewisol,
Buan yr annela'n ol
I'w mur,—ac ofnau mawrion
Yn llwytho a briwio'i bron.

Daeth Haf llon, a meillion mêl,
A thywydd mwyn a thawel:
Y Wenynen lawen, lwys,
Drwy y gerddi'n dra gwirddwys
Yn awr a hed, iawnwar hynt,
Yn hwylus deg ei helynt.
Draw ar gaeau, parthau pell,
Wych ystyr, cofia'i chastell;

---

*a* Oged.

Daw i'w hannedd geinwedd, gu,
A'i llwyth yn mron a'i llethu.
Gwiw effro i amgyffred
Ei swydd, iddi'n rhwydd yr hêd,—
Heinif, heb eisiau'i hannog,
Yw i ddwyn o'r llwyn ei llôg.

Ni thâl rheolau'i theulu,
Iawn y gŵyr, heb *wneyd* yn gu
Ei rhan, yn eirian wiwrydd
A dyfal, tra dal y dydd.
A oes heddyw un swyddog
Dros ei wlad, er llad a llôg,
A'i ofalon mor felys
A mwynrwydd er llwydd y Llys?
Ei sî, yn llwyni llannerch,
Sy'n dwyn, fel â swyn, fy serch:
Mor ddiwyd, â mawr ddeall,
Y casgla mewn gwyldra'n gall,
Yn yr Haf, cyn addoer hin
A gwyw gur gaua' gerwin!
Druan fach! dyrannaf fi
It' ystyriaeth tosturi:
Tydi, er nas gwyddi'r gwall,
Trysori'r wyt dros arall:
Y foru i oferwaith
Yr êi o'th dŷ'n wir i'th daith:
Ow! dyn a 'speilia d' annedd
Yn ddewr ei sŵn,—ddiras wedd!

Edrych, ddyn, ar ddiwydrwydd
Y lân Wenynen, i'th lwydd;

Parottô, erbyn pryd dwys,
Hygar olud goreulwys;
Yn fanwl, yn Haf einioes,
Synia'n gall am arall oes:
I gasglu na fydd gysglyd
Erbyn taith i faith wych fyd:
Dy drysorau, geiriau gwir,
Na ddioga, ni ddygir
Oddi arnat trwy ddewrnerth;
Byth barhâ gwychdra eu gwerth.

---

## TRACHWANT.

Ti Ellyll gorwangcus, di ddigon di ddâ,
Ti haint y bydysawd, dechreuad pob plâ,
A'th wisgoedd yn goegwych, a gwên ar dy bryd,
Tra'th gorph yn llawn clwyfau cuddiedig i gyd;

Gynnifer o ddynion a ddygaist trwy d'arch
I ben uchel dŷrau, gan addo mawr barch,
Oddiyno i'w taflu'n afluniaidd i lawr
I bydew dychrynllyd, a surllyd ei sawr.

B'le dygaist ti Bona,[a] yn niwedd y daith,
Yn ol ei glodforedd a'i fawredd gwir faith?

---

[a] Buonaparte.

I anial Helena, arswydus dy swyn,
Y'mhell o fro'i geraint, yn gaethwas di-gŵyn.

Nid Ffraingc, un o'r gwledydd hyfryttaf dan nen,
I hwn ydoedd ddigon, a bod arni'n Ben;
Ond Trachwant a'i trechai, a'i dallai, nes d'od
Yn isel garcharwr y dyn mwya'i nod.

Gwell byw yn ddisylw, ac felly'n ddi sen,
I ddyn, nâ dyrchafu'n rhy uchel ei ben:
Y gwynt ag sy'n darniaw yr onen, chwyrn gri,
Ni wna fawr ymryson, eithinen, â thi.

Pa fwyaf ar glodydd y byddo fy mryd,
Mwy'r hoga Cenfigen ei danedd o hyd,
Ac uwch yn fy nghwympad y codir y gân
O felus orfoledd gan fawr a chan fân.

O'm llwybrau distawaidd sa', Drachwant, y'mhell;
Ni chei di un noswaith lettya'n fy nghell:
Mae Tlodi a Gofal gan' milwaith i mi,
Er tristed eu hagwedd, yn hoffach nâ thi.

Y'mhell o ymyrraeth a balchedd y byd,
Yn nyffryn tawelwch, â'm hannedd yn glyd,
Y treuliwyf fy einioes, yr hunwyf mewn hedd,
A doder a ganlyn ar garreg fy medd:—

Fan hon y mae'n gorwedd dan raian y'nghudd
Un dreuliodd yn ddifraw, yn ddistaw ei ddydd.
Ym maes yr ymryson ni chlywyd ei lais;
Nid clod oedd ei hoffder, nid mawredd ei gais.

Da welodd nad ydyw y bywyd ond brau,
A gwenau gogoniant nad ydynt ond gau;
Mae'n dawel ei annedd o sŵn byd a'i glyw,
A'i obaith yn gorphwys ar gariad ei Dduw.

---

## GOBAITH

Fwyn angor yr enaid, mewn chwerwder a chur,
Er gwaethaf pob adfyd i'r eithaf fo'n sur,
Trwy'r niwlen yn gwenu os gwelir di draw
Tawelwch nefolaidd i'm hysbryd a ddaw.

Tydi dan glefydau sy'n cynnal y fron,
Rhag syrthio'n ddrylliedig dan ymchwydd y don;
Wyt lewyrch yn gwawrio'n fwyn hyfryd dy wedd,
Ar fordaith dymhestlog ein bywyd i'r bedd.

Os heddyw cymmylau sy'n erchyll amdoi
Fy llwybrau dyryslyd, fy ngolwg gan gloi,
Tydi fyddi'n serchog afaelu'n fy llaw,
Gan wedyd, "Y foru yn desog y daw."

Dy hoff fwynaf rinwedd iachusol iawn yw,
Ac arnat ti'n unig mae miloedd yn byw:
Y lle yr anelodd gorthrymder ei saeth
Tydi'n glau a welli yr archoll a wnaeth.

Pan byddo cyfeillion mynwesol a gwir
Yn gorfod ymadael, dros amser dwys hir,
Y *Gobaith* o eilwaith gyfarfod yn llon
Fydd eli i glwyfau, i friwiau y fron.

Y fam beth ond *Gobaith* a'i cynnal bob awr,
Rhag syrthio'n wywedig dan lewyg i lawr,
Pan draw ar y ce'nfor peryglus mae'r un
A gâr mor bur anwyl â'i enaid ei hun.

Os rhwystrau'n dyrysu'n hamcanion a gawn,
Trwy'th gymmorth, hoff *Obaith*, yn llwyr ni thristâwn;
A thi yn ein nerthu ymdeithiwn ym mla'n
Trwy oer ddyffryn adfyd, yn uchel ein cân.

Fel gwlith i'r gwenithyn,—i'r sychdir fel gwlaw,
Yn hoff dy gysuron i'r ddwyfron a ddaw;
Bydd imi'n gyfeillgar, i'm hofnau rho sen,
A llawen y treuliaf fy myrddydd i ben.

Fy nâ[a] a fy nefaid os colli a wnaf,
Os casglu o ffrwythau fy ngwinllan ni chaf,

---

[a] Habacuc iii. 18, 19.

Fy ŷd ar y maesydd os diffrwyth y try,
Yn Nuw y gobeithiaf er hyn oll yn hy.

Yn wyneb holl ddychryn tra dwys angau du,
Mwyn *Obaith* yn darian i filoedd a fu,
Yn llusern i'w llwybrau,—yn dangos o bell,
Trwy'r llen o dywyllwch, y bryniau sydd well.

Ond dychryn, fy enaid; adgofia fod man
Na rydd i'w drigolion un gobaith yn rhan;
Lle wedi machludo mae hyfryd haul hedd,
Heb neb, och! yn disgwyl ail weled ei wedd.

I mewn pan bo'r meddwl ei lygad yn troi,
A gweled trugaredd dros byth wedi ffoi,
Mor erchyll y teimlad, arswydus uwch iaith!
Fy Nuw, rhag ei brofi, ystyriwyf fy nhaith.

---

## I'R CELWYDD.

Colyn y diawl yw Celwydd—gwenwynig,
Wŷn anwar aflonydd;
Gyrr ar ei faith daith trwy'r dydd
Eneidiau yn annedwydd.

Chwerwloes i lonwych irwlad—ydyw hwn,
Sy'n dihoeni mwynwlad;

Gwae marwol, trwy'i gameiriad,
A geir i lwys hygar wlad.

Gwledda wna'r cas gelwyddwr,—dig gulwaith,
Ar waed calon glân-wr:
Mae urddas gwell i'r mwrddwr,
Ryflin wedd, na'r aflan wr.

Cilio rhag ergyd celwydd—nid ellir;
Gwna dyllau'n ein clodydd,
Mewn du frad; a'i fwriad fydd
Dwyn holl iawnwerth dyn llonydd.

O'ch wirfai sy'n gwneyd chwerwfyd,—wae anwiw,
Yn diwyno glanfyd:
Yn hoywfraint caem wên hyfryd
Daear bêr ped âi o'r byd.

O! gelwydd, pa faint y galar—erioed
Wnaeth dy rydost lafar?
Llawer Cristion gwirion, gwâr,
Gyrraist ti goris daear.

Dagraulif o rif gro'r afon—peraist
Mewn darpariad creulon;
Braenaru bronnau irion
A geisi di â'th gas dôn.

Caled yw bron mab y Celwydd,—megis
Pe'i maged ar fynydd
Carregog rhwng y creigydd,
Oror hell yr eryr rhydd.

Udgorn celwyddwr adgas,—briw iechyd,
Sy'n-brawychu teyrnas;
Ni wêdd,—mae'n waith anaddas
Estyn coel i'r Satan cas.

Y Suddas brwnt fo'n soddi,—a'i wely
Ar waelod y mawrlli';
Neu wrth warrog yn crogi,
Oer elyn cas, ar lun ci.

I'w nadael i wael annedwydd—gwympad,
Wnai'i gampau'n llawn c'wilydd,
Naw colofn i un celwydd
Yn rhy fach i'w rhoi a fydd.

Noder yr un a wedo—gas anair;
Gwiw synied am dano
Mai brad yw ei fwriad fo,
Du gelwydd, paid a'i goelio.

Ac un a fo'n llawn gweniaith—yn d' wyneb,
Gan dannu nawseiddiaith,
Gochel,—nid rhywiog wychiaith,
A fedd serch, yw'r foddus iaith.

E ddylai fod nôd i ni—ar dalcen
  Hir-dolciog celwyddgi
 O losgiad gôf, law wisgi,
 Er llai o goel i'r hyll gi.

---

## AWDL I'R GWANWYN.

Yn awr yr arddwr, gwr rhagorol,
A â i'r maes yn wir rymusol,
I droi â'i aradr yn dêr wrol
Y ddaear lwysaidd irwiw lesiol,
A rhoi hâd fal mae'n rheidiol—i'w harffed
A ga o'i nodded yn gynyddol.

Y tymhestloedd, floedd arw flin—hedasant
  A'u diserch lais oerflin;
 Daeth nefolaidd hafaidd hin,
 A glwys agwedd glas egin.

Daeth y gwanwyn mwyn a mâd—i filoedd
  Yn felus iawn gennad,
 A'i lewyrch yn oleuad,
 Ar uchelfryn a glyn gwlad.

Yr haul pur araul eurwawr—bywlon
  A'i belydr dysgleirwawr,
 Sy'n bywhâu llysiau y llawr
 Trwy ei wiwnerth tirionwawr.

I fywyd dwg yn fuan—a hoywdeg
Bob hedyn bach egwan;
Ei lygad glwysfad a glân,
Rydd enaid i wraidd anian.

Y ddaear hygar ei hagwedd—yn awr
Mewn eres orfoledd,
Ei mynwes gynnes geinwedd,
Egyr hon â gwawr o hedd:

A daw myrdd o bryfed mân—o honi
Yn heinif iawn allan;
A theimlant, deg lwyddiant glân,
O'u mewn fywyd mwy'n fuan.

Mae meillion gwynion ugeiniau—lliwdeg
Yn dilladu'r caeau;
A gwisgir, paentir pob pau
Fel Eden â heirdd flodau.

Yn awr pob gardd hardd ei hurddas,—gwena
Yn geinwych ac irlas;
Llawn o glod yw pob llwyn glas
Gosgeddig, mewn gwisg addas.

Llawenydd sydd drwy'r llwyni;—gwâr adar
Yn goreudeg odli:
Clyd fwriad, yn clodfori
Awdwr nef a'n daear ni.

Ar y coed daw'r cawodydd—iawn anwyl
I enneinio'r gwinwydd;
Gwlaw gwresog a rywiog rydd
Yr eginau ar gynnydd.

Yr hwsmon, dirion wr da,—ar ei wych
Oreu waith pan sylwa,
Yn wir foddus rhyfedda;
Gwenu yn anwylgu wna.

Ar foreuddydd,
Yn gywreinrydd,
Yr uchedydd ar iach aden,
A'i mawl-gywydd,
Fry i gaerydd
Iôn ei Llywydd â yn llawen.

Draw y gwelir yn dra golau—yr ŵyn
Eirianwedd yn chwarau;
A gwyllt mae eu traed yn gwau,
Bêr anian, ar y bryniau.

Llwyr ddefnyddiwch, tra meddwch, eich moddion,—
Oriau ieuengctyd a hyfryd hoywfron,—
Neidiwch, byw redwch â ch'lonnau brwdion,—
Ni welasoch etto anwyl weision,
Aua' nac eira, nac oerion—wyntoedd
A bair ryw gannoedd heb ri' o gŵynion.

Bore einioes yw,—mae'r bryniau—'n desog,
Dewisaf funudau;
Iach a diddan yw'ch dyddiau,
Mewn hoen boed ich' eu mwynhâu.

Na ragwelwch, rai gwiwlon,—y gyllell
A'r gwellaif awchlymion,
A dwyn gan ddwylaw dynion
Eich dillad, mewn brâd, o'r bron.

Awr y Gwanwyn ry' ugeiniau,
Fwynaf loywdwf, o fân flodau;
Gwyn a llonwawr y gwinllanau,
Gwyrdd a deiliog gardd a dolau.

Yn y Gwanwyn daw'r gu wennol—loywdeg,
O wledydd estronol,—
Gwestai ydyw gwastadol
Yr awr hon ar dòn a dôl.

Yn gynnar, pob giâr, wraig eirian,--happus,
Ei heppil try allan;
O'i hol yn lliaws hoywlon
Y daw'r gwyr â'u diwair gân.

A'i gwiw ewinedd i'w gweinion—lwys blant
Dwg faethiant, dêg foethion;
Daear chwilia drwy'i chalon
Am bryfed ar lled yn llon.

I rodio mae'n oreudeg—hyd waelod
Y dolydd mwyn irdeg,
A gwrando ar gywreindeg
Lais yr afon dirion dêg.

Yn awr yr adar a gynnar ganant,
Oll ar y manwydd, lle yr ymunant
Yn briodasol; (manol eu mwyniant,)
Mewn bwriad hoywy h mwyn barottöant
Deiau pluf i gadw eu plant—anwylion
Rai addas gwiwlon, a wir ddysgwyliant.

Eu hygar annedd a hoyw gywreiniant;
Gwiw eithaf seiri, eu gwaith fesurant;
A chlai y mwswm yn awchlym asiant;
Blew mân a sidan y'nghyd osodant;
O foddion oll ganfyddant,—fo gweddaidd,
Yn lladronaidd i'r unlle dirwynant.

Fwynweis, gwahanol fannau—dewisant
I osod eu teiau;
Rhai'n uchel ar ben prennau,
Rhai mewn llafrwyn a brwyn brau.

Rhag creulonder, digter dyn,
Ceisiant, iawn buchiant bob un,
Ryw fan draw nas daw ei dôn,
Er eu mawr gur na'i sur swn.

Y *frân* yn yr awyr fry,
Gwiwlwys y gwna ei gwely;
A'r *dryw'n* addas, y gwas gwan,
O'r golwg dan ryw geulan:
Ni welwyd tŷ anwylach,
Cul yw y drws, byrddrws bach,
Rhag bysedd, digllonedd llangc,
Gywir ofal, a'i grafangc.
Eu had coledda'r adar,
Mal dynion, weis gwirion gwâr;
Eu cynydd a fydd yn faeth,—
Mawr alar eu marwolaeth.

Drwg erchyllwaith,
Hagr elynwaith,
A dyryswaith, wiw der weision,
Dwyn eu hethawl
Blant iachusawl,
Gwywo, bythawl, eu gobeithion!

Oer ran y mwyn rieni—yw galar,
Gwaywloes, a chaledi;
Llawnion y cwymp o'r llwyni
Dagrau 'nawr i'r llawr yn lli'.

Y fam ar y brigyn fydd—(gwely oer)
Yn galarau beunydd;
Ei meibion tirion, terydd,
Anwylgu, darfu eu dydd!

Gan ofidio.
Dwys och'neidio,
Troi ac wylo, tŷr y galon
Drom aflonydd
Ar y gwinwydd,
Wynias gerydd, yn ysgyrion!

Tirion yw holl naturiaeth:—mor gynnes,
Mor gain yw'r gre'digaeth:
Holwn trwy ba law helaeth,
Mor fwyndeg, mor deg y daeth.

A gawn ni sylwi ar gynnesolion
Belydr yr Haul, fawrgu araul goron;
A gawn ni weled mor hoywgain wiwlon
Gannoedd o elltydd gynneu oedd wylltion,
A glwyswawr ddolydd gleision—heb roddi
Da fawl i Geli â dyfal galon?

Am a feddwn
Ac a welwn,
Iddo dygwn haeddedigol
Glod yn barchus,
Ein Tad cofus,
Iawn haelionus, anelynol.

Trwy ei gennad,
A'i ordeiniad, Iôr da union,
Pob hyfrydwch
Neu ddiddanwch ddaw i ddynion.

Heb weniaith gwedd in' beunydd—dy gyfiawn
Adgofio, Duw Ddofydd:
Gwanwyn a phob rhyw gynnydd,
Tad yr hael, tydi a'i rhydd.

Gwelir di, Geli gwiwlan—,yn yr ia,
Yn yr awel fwynlan;
Yng ngwellt, dwr, yng ngwyllt daran,
Cawad a mellt ac ôd mân.

---

## AWDL

**A anfonwyd i Anrhydeddus Gymdeithas y Cymreigyddion, Caerludd, yn y flwyddyn 1824.**

Yn Fardd os etholwyd fi,—un di iaith,
I'ch Cymdeithas, 'leni,
O fwyn chwedl anfon i chwi
Rhyw dammaid mae'n rhaid imi.

A pha beth, pa bleth rydd fwy blas—na gair
Am gywrain fawr urddas
Y deg iaith, fad, gyweithas,
I *ni*'n gu—gan Dic[a] yn gas?

---

[a] Dic Siôn Dafydd.

Hir oesoedd ar dir Asia—hi gadwodd,
    Ac wedi'n Ewropa
  Oll i gyd, yn ddiwyd dda,
  Tramwyodd, mewn trwm aua'.

Trafaelodd i'w *chartref* Walia—'n galed,
    Er gelyn a thraha;
  C'add wisg newydd ddedwydd, dda,
  A thwymwych, pan ddaeth yma.

Da roeso a mawr draserch—ca yma,
    Bob cam, a chywirserch,
  Heinif yw pawb i'w hannerch,
  Yn glau â chusanau serch.

Rhodio y mae mewn anrhydedd—mirain,
    A mawrwych orfoledd;
  Newidir mewn hynodwedd
  Delw'r byd cyn delo i'r bedd.

Gwleddau a byrddau a beirddion,—a wêl
    Yr anwylyd dirion,
  Ugeiniau yn deg union,
  Yr un dydd yn rhoi iawn dôn.

Yn gry' cwyd dy ben o'r graian,—yn lwys,
    Taliesin mwyneiddlan:
  Tro olwg i'n tir hoywlan,
  Gwêl awr deg—Walia ar dân:—

Ar dân â'r hen gân ar gynnydd,—telyn
Ym mhob teulu dedwydd,—
Cân côg ar fawnog fynydd,
"Cymru a fu—Cymru fydd."

Gwêl Fonedd gloywedd ein gwlad—yn caru
Cu eiriau awenfad;
A Beirddion, fel meillion mad,
Yn filoedd hyd y fyw-wlad.

Yn barod nos a borau,—mae digaeth,
Gain odiaeth ganiadau,—
Yn glyd derbynir yn glau
Gwin Awen i'n geneuau.

Aneurin, cwnna o weryd,—gâd fedd,
Ymgwyd, fardd, am ennyd,—
Wiw dad, a byddi'n d'wedyd,—
" Môr o gân yw Cymru 'gyd,"

Gwelwyd gwerth, a golud, a gwych—rinwedd
Yr heniaith oleuwych;
Seinir heddyw'n gysonwych
Ei mawl glân â mil o glych.

Ar elor ein mam oreulan—welwyd;
Wylodd nef ei hunan,—
Yn fyw y daeth yn y fan,
A llawenodd holl anian.

Ein hyglod Eisteddfodau,—a'n iesin
Oesawg Gymdeithasau,
*Dyngant* na chei di, Angau,
Mwy wneyd nam i'n glwysfam glau.

Ei heiddo iddi a'i haeddiant—*mynnwn*:
Mae enaid ei mwynblant
Yn danwydd—a chyd-unant,
Yn lwys gôr, ac ni lesgânt.

"Calon wrth galon" i ddiogelu
Ein hiaith dirion sy'n gwiw lon ymlynu,—
Tra bo'n ein mynwes waed i'w chynnesu,
Ein da lân fwyniaith daliwn i fynu:
Unwn a gweithiwn yn gu,—mewn iawn hedd,
I'w hynod fawredd hon i adferu.

Llwyddiant, gogoniant, gwiw gynydd—i'r iaith
Wir ethol oleurydd;
A hil Dic tra dalio dydd,
Baw-dorf, fo'n hel eu bwydydd.

Boed banllefau,
A llanw'n wiwglau
Mil o wydrau, i ganmol oedran
Iaith ein tadau,
A'n hiaith ninnau,
Iaith gu, orau, blethog eirian:

Iaith hen Adda
Gynt yn Ngwynfa,
Iaith bêr Efa, iaith boreufyd,
Fydd, er cyndyn
Ddig a gelyn,
O un derfyn â daearfyd.

---

## YMDDIFFYNIAD Y BEIRDD.

O AM lân lwysgan felusgu,—deraf,
I dirion amlygu
Dwyswaith Beirddion, ceinlon, cu,
Dewisgoeth, a'u clod esgud.

Diddanwch dyddiau einioes—in' ydyw
Eu caniadau eirioes;
Difyrrwch ein du fer-oes,
Dan oerllyd glefyd a gloes.

Os heddyw tra'n byw'n y byd,
Ynt dan iau y bradau brwd,
Dont etto ryw dro'n wyr drud:
Y ceufedd, yn niwedd nod,
Yn ol cur llafur a llid,
Rhan fach wna ddwyn (groywfwyn gred)
O'r prydyddion mwynion mâd.

Ystyriwn, gwelwn eu gwaith,
Cain eilwyr, eu cynnilwaith;
Iesin fur, erys yn faith—tra haulwen,
Heb orphen, yn berffaith.

Bu farw'n ofer,
Byw yw Homer
A'i gerdd hoywber, agwrdd, hybarch;
A'i enw'n eglur
Saif yn loywbur,
Mewn cof iawnbur, mewn cyfanbarch.

*Dichon* etto
Bydd astudio,
A thyn eilio'n *Athen* wiwlwys,
Yn mhen amser,
Mydrau dwysber
Iaith hil Gomer ethol gymmwys.

Mawl pêr ar dyner fwyn dôn—iawn rhoddi
Yn rhwyddwych i'r Beirddion;
Addas i ni, er si, sôn
Am iawnwaith y gwyr mwynion.

Am afonydd ymofynant
Dan y gwinwydd dien ganant;
A lleferydd y llifeiriant,
Eirian duedd, a wrandawant.

Iawn trwy ei chalon natur a chwiliant,
Holl ffyrdd a thro'on dynion adwaenant,
Eu beiau a'u hagr nwydau dynodant,
Drwg y clwyfau â geiriau agorant;
Defaid, Bugeiliaid, galwant,—yn unwedd,
O'u du oferedd i edifeiriant.

Holl wreiddyn balchder ofer a nwyfiant,
Iawnwych weis taerion, awchus y torrant;
Gwaith ffol y bydol hwy ni arbedant;
Pybyr gyhuddwyr, pawb argyhoeddant
O'u hynfydrwydd, ac ni fedrant,—wyr clau,
Hoffi gwag enwau a ffug ogoniant.

Hedd y byd a haeddai Bardd
A ŵyr gaeth fesur ei gerdd,
Nid ffei a'i droedio i ffwrdd
Gan haid o ffyliaid pen ffordd.

Peraidd yw clod pob Bardd clau,
Gwin hylwyr yw'r gân olau:—
Harddach i ddyn synwyrddwl
Na chadw stwr a dwndwr dwl
Ddysgu rheol y ddwysgamp,
Chwilio gwyrth uchel y gamp.

Melus, gwn, malais i gant,
A llaweroedd lliw ariant,
I minnau'n hoff bethau bydd
Iawnwych Awen a Chywydd.

Er bod yma'n wan yn awr,
Megis un di-ymogawr
Wnai ei wely fry'n y fron
Yn dawel rhwng *Brain*[a] *dúon;*
Os ieuangc yw'r lwys Awen,
Os wyf dan gur ei sur sen,
O eisiau modd i roddi
Mwy hamdden i'w helfen hi,—
Er na chaf pan ganaf gerdd
Un ddysg im' drefn addasgerdd,—
O fy enaid erfyniaf
Yn fwyn am gael gan hael Nâf
O'i rad, yn ol llafur oes,
Dda Iôn, yn niwedd einioes,
Drigfan o gyrhaedd drygfyd,
O swn y bai sy'n y byd,
I wledda ar oleuddoeth;
Waith y Beirddion dyfnion doeth;
Oes y mel, i flysio mwy
Berffaith gywreinwaith G'ronwy;
I godi'r gân gyda'r gôg
A llon dylwyth llwyn deiliog.

---

a Cyfeirir yma at wisg ddu Ysgolheigion y lle'r oedd y Bardd yn byw, sef Rhydychen.

## CYWYDD Y FESEN.

Oleurydd awenydd wâr
Barabldddoeth hoywgoeth hygar,
Eilia'n gynnes i'r Fesen
Ddidraws bur gân dda dros ben;
Yn glaurwydd gwna'n eglurach
Ei mawr fudd, a hi mor fach.

Yn sywdeg hon osodir,
Ferch groenwen, îs tonnen tir;
A gwiwrwydd cwyd yn gawres
Eilwaith o'r pridd llaith, er lles;
Cymmalog uwch cwm helaeth
Ehed i'r ser, mal dewr saeth;
A'i breichiau yn gwau 'n y gwynt,
Ymwria fry â'r mawrwynt.

Er tymhestloedd yn bloeddiaw,
Aruthr glych, er rhuthrau gwlaw;
Er siglo a briwio'i bron
A chorn corwyntoedd chwyrnion;
Arw twrf, er crynu o'r tir,
O'i thrigle hi ni threiglir:
Er bwrw o'r gwynt ar hynt rhydd
Ei gwallt o ddeutu'r gelltydd,
Heb annwyd saif yn bennoeth,
Mal Arglwyddes gynnes goeth;

Mae hi'n cysgodi adar,
Mewn swydd, yn ei mynwes wâr;
Yn llu yn hon llawenhânt
Nosweithiau, ac ni sythant.
Yn gywrain daw brain ein bro
I ddwyfron hon i huno,
A godidog y dodant
Ynddi nythau gorau gànt;
Cain syw dŷ, cynnes i'w dal,
Un castell ni chan' cystal:
O daw gelyn dig'wilydd
I 'speilio'u gloyw dwr hoyw rhydd,
Arfogant yn fawr fagad,
A garw stwr ar gwrr eu stad;
Codant yn filwyr cedyrn;
Tröant a chwythant yn chwyrn;
Eres oll y gwersyllant;
Rhag aflwydd i'w plwydd a'u plant.

Yn ol glân ymlydanu,
Gwel y Fesen geinwen gu,
Fawr drefn ar y ce'nfor draw,
I *Amerig* yn moriaw.
Hi a gynnwys yn ddwys dda
Filoedd yn ei mawr fola;
A deil ar ysgwydd y dòn
Lwyddiannus lu o ddynion.
Mynych, gwêl, rhyfel is rhod,
Mewn mesen mae'n ymosod;
Gloywdeg rhoir arfau gwledydd
O fewn ei chroth fwyniach rydd;

Daw i maes o'i cheudod mawr
Trymion daranau tramawr:
Llef oer, uwch swn llifeiriant
A ffrydiau ugeiniau gànt:
Swn hynod gan lewod lu,
A myrddiwn o deirw mawrddu.
O'i wirfodd y dewr forfil,
Chwyrna' cawr, mewn dychryn cil;
Y'mhell gan fantell o fwg,
O'r gwawl ni welir golwg.

Diau'r Fesen ddien dda,
Du benyd yw i *Bona*.[a]
Ni thraethir, er poeni'r pen
Fisoedd, holl waith y Fesen:
Dwys hygar Dywysoges,
Yn llong, mawr iawn yw ei lles,—
Ar wendon hed i'r India,—
Ymaith dwg pob moethau da.
Holl ddychryn diderfyn dig
Y ddudon fawr chwyddedig,
A gorwyllt reieidr geirwon
Ni rwystrynt mo helynt hon.
Ydd ynfyd foroedd anferth
Weithiau yn eu cafnau certh
Yn hyll wangcus a i llyngcant
I lawr i'r chwerw a'r berw bant:

---

*a* Buonaparte.

Cyfyd eilwaith o'r ceufor,—
Rhed i maes o rwyd y môr,
A naid o'i draflwngc yn ol,
Ganwaith yn gynt nâ gwennol.
Llwgr hwy welasai Lloegr hen,
Oni f'asai'r fwyn Fesen,—
Llewndid trigolion Llundain,
A phob trefydd celfydd cain.
Iach wiwfun, yn ei cheufol
Dalir bwyd i lawer bol;
O'r glasfor draw daw i dir,
A deugeiniau digonir:
Lleinw o ffrwythau pellenig,
Diwall y tro, 'r wlad lle trig,—
Trwy'n hynys pob llys sy'n llon
Gan fwynhâu moethau meithion,—
Gwenu ym mhob digonedd
Mae Prydain gywrain ei gwedd.

Gorau o brennau'r bronnydd
I'w pherchen y Fesen fydd;
Gloyw y daw dan glo daear
I bwll cul pan ballo câr.

Doed barn cydwybod arnoch,
O roi mes i besgi'r moch:
Dwys holwch ai disylwedd
Eu gwaith, os distadl eu gwedd.
Trwy 'mywyd nis tro' mwyach
Dan droed mo'r wen Fesen fach.

Dyma hyder, llawnder llon,
A gwrolbarch gwâr Albion:
Tra mes o ddeutu'r maesydd
Britannia wen yn ben bydd.

---

## CYWYDD Y CLAF O GARIAD.

Mae 'r byd o hyd yn mwynhâu
Yn siriol ei bleserau:
Minnau, o gariad meinwen,
Dan lwyni rwy'n poeni'm pen;
Rhodio'r wyf, fel rhyw adyn,
Is dail heb gymdeithas dyn;
Yma'n gwau, a mi yn gaeth,
Cwyn oeraf, cân o hiraeth.

Gwiredd fod *son* am Gariad,
Hudol wr, ar hyd y wlad;
Ond lle na bu'n gwasgu'n gerth
Na ddirnad neb ei ddewrnerth:
Byw'n yr awel mae'r gelyn;
E all fod y dull a fyn;
Ymofyngar am feingorph,
Trwy'r ais â, os cais, i'r corph;
Traed mân trwy waed a 'mennydd,
E wna hyll boen y lle bydd;
Rhydaer trwy'm corph mae'n rhedeg,—
Ganwaith i'r fron gwnaeth arw freg.

Ni ŵyr hwn am fawr o hedd,
Uthr y gwr, na thrugaredd;
Obry 'nawr mae'n braenaru
Gwaelodion y galon gu.
Trwy Wèn dy saeth trywana,
Meddyliau hon meddalhâ.

Dygodd hi, y lili lon,
Angylaidd, wraidd fy nghalon;
Uchel, trwy'r dydd 'rwy'n ochain
O draserch am y ferch fain:
Briwedig, bob awr, ydwyf
O'i serch, a galarus wyf,—
D'rysais mewn rhwyd o draserch
Am yr hafaidd, fwynaidd ferch:
Oer yw y nych, cwyno'r nos,
Ochain, ac nid heb achos,
Yr ydwyf, fel llwfr adyn,
Gan glwyfau a saethau syn;
Siarad trwy 'nghwsg â'r seren,—
Tybied heb ffael im' gael Gwèn—
Adwaen mai breuddwyd ydyw,
Brudded wyf, mai breuddwyd yw!

Gwel'd eisiau 'r un gled iesin,
Eisiau'r mêl sy ar ei min;
Eisiau'r feinir gywir, gu,
Ddaionus, i'm dyddanu;
Meddwl o hyd am ddelw hon—
Meddwl, nid am ei moddion,

Ond am ei llun, y fun fau,
Wiwddoeth, a'i holl rinweddau.
Trwy alar troi a holi
Pa achos syn na fyn fi;
Pa'm dywed nad oes groesaw,
Y leuad hoff, gan alw "Taw."

Yn aml am deg resymau
Chwilio'r wyf, i'w chael i'r iau:
Dywedyd mai da ydyw
Priodas, mai addas yw,—
Mai bywyd o hyfryd haf
Tesog,—mai byd dewisaf,—
Yw byw'n ol y rheol bur
Hynotaf, a roes natur;
Bod, trwy'r holl wlad, yr adar
Bob un heb ffael yn cael câr,
A mwynblant mewn tŷ manbluf
Ar frigyn glas, mewn plas pluf:
Dywedyd, os llwyd ydwyf,
Sylwi o hyd, os *salw* wyf,
Fod mewn gardd lysiau harddwawr
Teg a syw o atgas sawr,
A rhai i'w cael, gwael eu gwedd,
Heb rân ond o bêr rinwedd.
Chwerthin, 'nol grwgnach wrthi,
Wna hon, mor ddi gŵyn yw hi:
Dihoeni wnaf yn glafaidd,—
Tyr y galon gron o'r gwraidd:
Och! brath i'r fron diriondeg
Yw "Taw" 'n ol rhesymau teg.

Anwyl y cawn, 'nol y cur,
Imi dâl am y dolur:
Pe doe' 'r un nefol olau,
Dyner, wych, o dan yr iau,
Carwn yn ddeg cywirach
Bob tammaid o f'enaid fach:
O ddim mael a ddoe i mi
Rhan addas fyth rhown iddi:
Odlau i'r ferch lygadlas
Gain ei gwedd a ganai'i gwas.
Gyda hi, y lili lân,
Cawn fwynhâu dyddiau diddan,
Heb gynnal un gofal gau,
Na son ond am gusanau:
Cawn wasgu llaw, fwynlaw fain,
Y gynnilferch ganolfain—
Dal f' un lariaidd, faswaidd fin,
Anwylaf ar fy neulin;
A gwenu, hyd ddigonedd
Yn ei thirion wirion wedd.

---

## CAIS Y DYN DALL.

Rhowch glust yn garedig i gŵyn y dyn dall,
Sy'n 'mofyn ei dammaid o un drws i'r llall;
Mae'r nos yn dynesu, mae'n llymdost yr hin,
A'r gwlaw sydd yn treiddio trwy'm henwisg yn flin.

Yng nghanol rhyw gwmmwl o d'wyllwch du dew,
Ac hefyd yng ngafael oer Henaint a'i rew,
Fel hyn yr wy'n crippian mor egwan, mor wael;
Eich lletty agorwch, mewn harddwch, yn hael.

Yr haul yn ymgodi mewn bri uwch y bryn,
Yn fawr ei ogoniant, a welais cyn hyn;
Y ddôl yn feillionog, a'r coedydd hoff gwiw,
Yn hyfryd a mwynfad i'r llygad eu lliw.

Ond 'nawr yn dywyllwch mae pob peth i mi,
Sy'n edrych mor ddisglair a siriol i chwi;
I *mi* nid yw'r bore a'i lewyrch hardd llon
Ond cefnos anniddan, du-dywyll o'r bron.

Yr haul, pan ddisgleiriaf, ar ganol y dydd,
I'm llygaid ei fwynaf oleuni ni rydd;
Pryd hyn ymbalfalu mewn tew-nos yr wyf;
Dangoswch dosturi, mae'n drymaidd fy nghlwyf.

Mae eraill i'r bryniau yn mynych roi tro,
I weled mwyn harddwch—hyfrydwch y fro;
Ond *natur* hyfrytaf a gwychaf ei gwedd
I *mi* sy'n dywyllwch, fel caddug y bedd.

Os buoch ar wely, a'ch dwyfron yn brudd,
Ar hirnos o auaf, yn disgwyl y dydd,
Meddyliwch am gyflwr yr adyn dan glwy',
Heb obaith cael gweled yr haulwen *byth mwy!*

Mae'n hoff myn'd i farchnad, mae'n hoff myn'd
i *ffair*,
Gan rai sydd yn *gweled* beth yno a wnair:
Nid ydyw, och finnau! un lle mwy nâ'r llall
Yn gweini fawr gysur i ddyn a fo'n ddall.

Mae gwel'd y briallu yn gwenu'n eich gardd,
A'r ŵyn bach yn chwareu, yn olwg fwyn hardd;
I minnau llwyr ofer yw codi fy mhen,
Un mantell o d'wyllwch yw daear a nen.

Pelydrau goleuni y foru'n wiw fwyn
I *chwi* trwy'ch ffenestri hoff ddydd a wna
ddwyn;
I minnau, gyfeillion, a'm bron yn llwyr brudd
Y *foru* fel heddyw yn *ddu-nos* a fydd.

Yn fynych mae'r ceiliog ein bronnau'n tristâu
Wrth ganu 'nghlyw *deillion* fod *dydd* yn nesâu,
Mae'n ddolur, mae'n dramgwydd, mae'n gel-
wydd ei gân;
I *ni* ni ddaw borau na golau hardd glân.

Mae eraill wrth rodio'n cael canfod yn rhwydd
Pob erchyll wrthddrychau, a chilio o'u gŵydd;
I *minnau* pan deithiaf, â braw yn fy mron,
Yr unig hyspysydd o'm perygl yw'm ffon.

Mae taran y cerbyd yn enbyd iawn wae,
A'r tarw yn rhuo,—pan na wn b'le mae:
Efallai, trwy geisio o'i ŵydd myn'd i ffwrdd,
Y byddaf yn myned yn nes-nes i'w gwrdd.

Rhowch imi attebiad mewn cariad, wyr call,
Pa ffordd sydd i ennill ei dammaid i'r *dall?*
Offeryn os cymmer yn llaw nid all weyd,
Pa ffordd y mae'n myned, pa beth mae'n ei wneyd.

Gan hynny tosturiwch wrth adyn tylawd,
A chwi sydd gyd-Gristion,—yng Nghrist sydd yn frawd;
A Duw, ar ei chanfed, anfoned yn fwyn
Yn ol eich rhodd etto, am wrando fy nghwyn.

---

## CYWYDD Y PRUDD-DER.

Y DDINAS i *ryw* ddynion
Rydd wynfyd a llwyddfyd llon,
Lle mae'n wastad brad, heb rus,
A genethod gwenieithus;
A meddwon yn trwm waeddi,
Yn ail i foch croch eu cri:—
*Minnau*, i ael y mynydd
Y ffulliaf, ac âf i'r gwŷdd,
Lle'n ddibaid y naid y nant
Goriesin, o liw'r grisiant;
Lle bydd adar cerddgar, cu,
Geinweis, yn pêr gyd-ganu,
A'r wenynen felen fach,
Ddiwyd, (ni bu ddeheuach)

Yn wiw dêr, hyd y bêr bau,
O'r dail yn sugnaw'r diliau.
Dyma fan, da im' ei fod,
Seirian, uwch byd a'i sorod,
A gwell nâ gogoniant gwag,
Suraidd, y ddinas orwag.

Ymyrred meibion mawredd
I'r lwyslan a'r loywlan wledd;
Lle mae cân a diddan dwrf,
A iach enaid, a chynnwrf,
A gwenau llon, a gwinoedd
Sy felys, a blys, a bloedd:—
O gyrraedd byd a gwŷd gau,
I'r *fynwent* draw 'r af finnau,
Dros ennyd i wâr syniaw
Y terfyn i ddyn a ddaw.
Dyma dŷ a gwely'r gwan,
A gwely'r gwr mawr gwiwlan,—
Gwely'r plentyn glanwyn glwys,
A gwely ei fam gulwys.
Clywaf y gloch yn ochain,
Yn drwm, yn swrthdrwm ei sain:
Daccw *Amanda* deccaf,
I'w hoes oedd flodeuyn haf,
Geneth na welwyd geinach,
Yn dyfod i'r beddrod bach.

Cu wyneb yr haul ceinwyn
Yn codi mewn bri, uwch bryn,

Mwy gwynfyd, o hyd, a hedd
Gwir felus, a gorfoledd
A bair i'r enaid lle bo
Llawenydd diball yno ;—
Ond i galon a bron *brudd*,
Yn gostwng dan drwm gystudd,
Awr yr *hwyr* sydd orau rhad,
A llewyrch mwyn y lleuad :
Heddwch i dristwch, am dro,
A gaf, fy hun i gofio,—
I ddi stwr dda ystyriaw
Yn ddwys am yr hyn a ddaw.

Gwên y cymmylau gwynion,—
Y ser euraid, llygaid llon,—
Yr wybren laswen, lwyswawr,
Harddaf a gwyrddaf ei gwawr,—
Yr awel lân, yn canu
Yn y gwŷdd a'r coedydd cu,—
Ynt i'r galon a'r fron frau
Iachus a theg wrthddrychau.
Peraidd win i'r prudd enaid,
Yn ei gur, y rhai'n a gaid.
O swn anghall a dall dyn,
A'i nwydau, un munudyn,
Gorweddaf, geiriau addas,
Dan glwyf ar y gwyndwn glâs.
Adgofiadau golau gànt
Diwyd i'm meddwl deuant
Am gyfeillion gwiwlon gynt,
Heno na chaf o honynt ;—

Am hoywbur oriau'm mebyd,
Mor bêr oedd im' wawr y byd;
Gwyrdd ydoedd, fel gardd Eden;
Llwydodd, e wywodd ei wên.

Leuad wen, anwyled wyt;
Caredig mewn cur ydwyt:
Goleu yn awr y gwelaf,
Adnabod, gwybod a gâf,
Dduw Dad, mai breuddwyd ydyw
Is ser pob gogoniant syw,—
Mae gwê cwsg, mai gwag gysgod
Yw'r hyn a geir îs y rhod,—
Mai iawn imi geisiaw'n gall
Bywyd eres byd arall.

---

## ORIAU FY IEUENGCTID.

Hoff oriau fy i'engctyd tra hyfryd eich hynt,
Mae'r atgof yn dyner o'ch gwychder chwi gynt,
Pan nad oedd un gofid yn llethu fy mron,
Fy mynwes yn dawel, a'm henaid yn llon.

Cawn droswyf fi f' hunan yn hoff, y pryd hwn,
Rai eraill mewn gofal f'ai'n ddyrys ei bwn:
Mewn gofal wyf finnau drwy 'nyddiau yn awr,
Dros eraill dan wasgfa, a'i feithdra'n wir fawr.

Mwyn oriau fy ie'ngctyd! llawn oeddych o wres,
A yrrai drwy 'nghalon lân dirion lon des:
Pa le'r oedd helbulon, pan chwiliwn drwy'r dydd
Am nyth yr aderyn, a'm rhodiad yn rhydd?

Ni wasgai'm hymenydd un cerydd, os cawn;
Ar ôl braw'r wialen i chwareu'n iach awn:
Nid ydoedd un gofid na gwae â mi 'nglŷn
A gadwai fy llygaid a'm henaid heb hun.

Yn oriau fy i'engctid, b'ai'm mynwes yn dân,
Wrth chwareu'n llwyr ddigrif rhyw lon gastiau mân;
Bob awr a allaswn ladratta o dre',
Chwiliaswn Baradwys wir lân yn rhyw le.

Mor ysgafn y galon pan awn dros yr iâ,
Mor gyflym â'r wennol ar foreu o ha';
Pan na chawn i'm blino, na chystudd, na chur,
Na chnöad eiddigedd, a'i dannedd fel dur.

Yn oriau fy i'engctid, nid oedd imi'n rhan
Yr ofnau o ddyfod y byd arna' i'n wan,
Nac wylo wrth weled rhoi rhai yn y rhych,
A gwreiddiau fy nghalon yn rhwym wrth eu drych.

Rhy gynnar yr aethoch, hoff oriau, ar ffo;
Ac mwy ni ddychwelwch byth, byth ond i'm co',—
A hynny bob amser, yn ddiau, gan ddwyn
Cymmysgedd o dristwch â rhywbeth sy fwyn.

## GALAR MERCH,

**Ar ol ei hanwylyd, wrth glywed iddo syrthio mewn Brwydr ar dir estronol.**

Y NEWYDD chwerw, trwm a sur,
Trywanodd fi fel cleddau dur;
A berem gwyllt sy'n berwi'm gwaed,
Yn eithaf trist o'm pen i'm traed.

Och! llwyr alarus yw fy llef!
Ond pwy a'm gwrendy? b'le mae ef,
A fu'n fy meddwl lawer tro
Pan byddai byd gan gwsg y'nghlo!

Yn iach, yn iach it', obaith mwy, —
Ti fuost eli'n hir i'm clwy':
Yn awr mi welaf, trist fy stad,
Nad oes i mi byth, byth iachâd.

Ais gant o weithiau ar fy nglin,
Gan brofi'r gwaith mor hoff â'r gwin,
I geisio'i wel'd yn iach yn ôl
I sychu'm dagrau yn ei go'l.

Ei feddwl ef a'm meddwl i
Nid oeddynt ddau, ond un mewn rhi';
A theimlaf ar ei ôl, dan glwyf,
Mai hanner o'r hyn oeddwn wyf!

Mi ge's lythyrau dros y don
Yn dyst o'i serch i'r fynwes hon,
A chynt y sych y glasfor llaith
Nag atto'r oera 'nghariad maith.

Pe bu'sai'r fraich fu'n codi'r cledd
I dorri hwn, a gwywo'i wedd,
Yn gwybod am fy nheimlad i,
Treiddiasai gwendid trwyddi hi.

Toddasai'r cledd, a'i fin yn ddur,
Pe gwelsai fi, mewn serch yn bur,
Yn cynnyg iddo'r fynwes hon,
Er achub fy anwylddyn llon.

Tu hwnt i'r môr mewn ardal bell
Yn gorwedd mae'n ei gyfyng gell,
Lle na chaf byth fwynhau y wledd
O hidlo dagrau uwch ei fedd!

Yn gorwedd mae lle nad oes un
Yn gofyn dim ynghylch y dyn
Ag oedd yn llyw pob gobaith llon,
A glana' haul i'r galon hon.

Awelon nef! a gludwch chwi
Y ffrwd sydd ar fy ngruddiau i
I'w thywallt ar ei fedd i lawr?
B'ai'r weithred yn gymmwynas mawr.

O Ryfel! erchyll yw dy waith,—
Dwyn llu o'u gwlad dros ge'nfor maith,—
Dwyn un a fo o'r llall yn rhan
I'w ddryllio mewn pellenig fan.

Ei gorph ni cha'dd un fynwent lwys
I roddi'n dawel yno'i bwys:
Y llewpard heno, f' allai, sydd
Yn gorwedd ar ei wely cudd!

Ti, Haul, sy'n canfod ar dy dro
Y man lle gorphwys dan y gro,
O! derbyn fi i'th gerbyd mawr,
Ac ar ei feddrod rho fi i lawr.

Daw gwanwyn gwyrdd i wenu'n îr,—
Daw peraroglau dros y tir;—
Ond byth i mi, dan nych yn wan,
Trag'wyddol auaf fydd yn rhan!

Y gog mwyn hoff, i b'le'r wyt ti
Y gaua' 'n myn'd o'n golwg ni?
Ef allai fod dy daith i'r wlad
Lle'n huno mae f' anwylyd mad.

Pe gwypwn hyn, taer geisio wnawn
It' ddysgu 'ngherdd o alar llawn,
I'w chanu ar y nesaf lwyn
I'r man lle mae fy nghariad mwyn.

Y marw er na chlyw dy gân,
I'm meddwl i b'ai'n gysur glân
Fod sain fy nghwyn yn treiddio'r nen,
Yn brudd alarnad uwch ei ben.

Mi fum mor hoenus, do, cyn hyn,
A'r ŵyn f'ai 'n chwareu ar y bryn,
Pan oedd yr un oedd im' mor fad
Yn rhodio'i enedigol wlad.

Fel rhyw aderyn dan ei glwy,
Heb ddim ond *un* wael aden mwy,
Rhaid imi dreulio'm hoes i ben;
Byr iawn a fydd fy nydd îs nen.

---

## CESTYLL CYMRU.

Chwi Gaerau mawryddig a welaf
  Ar fryniau fy ngwlad yma a thraw,
I'm meddwl, pan arnoch y sylwaf,
  Rhyw ryfedd gynhyrfiad a ddaw:
Yn nodded cadarnaf bu'ch ochrau
  Rhag ymgyrch gelynion di rif,
A wnaethant, yn amser ein tadau,
  Yr ardal o gochwaed yn llif.

O'ch amgylch bu meirch yn gweryru,
  A gwel'soch yr arfau o ddur
Trwy'r bröydd yn hyll luchedenu,
  A nodau dychrynllyd trwy'r tir;
Hardd ffrwythau y maesydd toreithiog
  Yn cwympo'n wywedig i lawr,
Tra chegau cwn rhyfel cynddeiriog
  Yn uwch-uwch oer-leisio bob awr.

Mae gweled eich llun adfeiliedig
  Yn hyfryd, i'n gosod ar go',
Fod dyddiau y distryw adwythig
  Er's talm, er mor ffyrnig, ar ffo:
Wrth osod, ym mynwes y ddaear
  Ffrwythlondeg, ireidd-deg, yr ŷd,
Yr hwsmon a deimla'n wir goelgar
  Ca'i fedi, heb fraw, yn ei bryd.

Wrth weled y defaid yn llechu
  Yn dawel dan gysgod y fan
Lle gynt y bu dynion yn gwaedu
  Yn filoedd â'u hagwedd yn wan,—
Y lle bu tyn wthio picellau
  Yn noddfa i'r oenyn a'i fam,—
Wrth weled tawelwch ein dyddiau
  Fy nghalon rwydd lawen rydd lam.

Chwi Gaerau, a wel'soch y cigfrain,
  A'r gwangcus eryrod ynghŷd
O'ch amgylch yn porthi eu hunain
  Ar waelgyrph y meirw oer mud,

Mor hoff ich' yw clywed yr awrhon
  O'ch deutu chwi'r bugail yn fwyn
Yn tiwnio ei bibgoed feluslon,
  Tra arnoch yn chwareu mae'r ŵyn.

Pan ar eich ymylau'r eisteddaf
  I ganfod hyfrydwch y fro,
Try'm meddwl yn ddwys, pan ystyriaf
  Mai tawel mewn graian a gro
Yw'r milwyr gwrolion fu'n codi
  Eich muriau, â'u mynwes yn dwym,
Gan weyd, "Ein calonnau gânt golli
  Eu gwaed cyn ein rhoddi ni'n rhwym."

Wrth gyfrif mor bur oedd eu bwriad
  Y deigryn a red dros fy ngrudd,—
Ond cadwodd Rhagluniaeth ei llygad
  Ar Gymru, a gwawriodd ail ddydd;
Byw'r ydym dan dirion lywodraeth,—
  Byw beunydd mewn hedd a mwyn haf,
Ag arnom yn gwenu'n ehelaeth
  Fendithion anwylion ein Naf.

---

## Y BLAIDD A'R DEFAID.

'R OEDD haid o Ddefaid gwirion gynt
  Yn byw mewn helynt hylon,
Ond fod hen Flaidd o olwg chwith
  Yn d'od i'w plith ar droion.

Yr oedd ei lais yn erchyll iawn
  A'i wedd yn llawn cynddaredd;
Fe laddai gant yn llwyr ddi gŵyn
  O'r gwannaidd ŵyn â'i ddannedd.

Ymgasglai'r werin oll ynghŷd
  Yn dwym eu bryd, ryw forau;
A rhoed y gelyn cyndyn cas
  Yn gaethwas mewn rheffynau.

E'i cadwyd ddyddiau heb ddim bwyd,
  Nes oedd yn llwyd a gwannaidd;
Yr oedd ei olwg yn ddi hoen,
  A'i flew a'i groen yn grinaidd.

Yr oedd ugeiniau am ei ladd,
  Fel pawb o'i radd wir haedda',
Ond nifer fwy oedd am ei fod
  Yn fyw, er clod o'i ddala.

Y truan Flaidd edrychai'n 'nawr,
  Bob dydd â'i wawr mor wirion,
Nes daeth yn drist gan ambell un
  I wel'd ei lun a'i loesion.

Ei lygaid oeddynt braidd yn gweyd
  Na fyn'sai wneyd drygioni,
Pe cawsai etto wneyd ei nyth,
  Fel gynt, ym mhlith y llwyni.

E gaid ymaflyd yn ei drwyn,—
Yr oedd yn fwyn a hawdd-deg;
Yn chwareu'i ran, er maint ei blâ,
Yn ddoethwych a chyfrwysdeg.

Dangoswyd ef i'r defaid tlawd,
A gofyn wnawd i'r rhei'ny
Ai boddlon oent, ag ef mor brudd,
Ei roddi'n rhydd cyn trengu.

Attebai'r rhei'ny yn gyttûn,
Mae'n drist ei wŷn a'i boenau,
Ac mae mor wirion, agwedd lom,
Ag un o honom ninnau.

Mae gennym ynddo gyflawn ffydd,
O rhowch e'n rhydd, fe haedda;
A chaed o fwyd ryw dammaid gwell
I gulwag gell ei gylla.

Y Blaidd edrychai fel rhyw sant,—
Yr oedd y plant yn wylo
O lwyr dosturi;—pawb i gyd
Yn gwaeddi "Rhyddid iddo."

A'i gamrau'n llesg, â'i lun yn llaes,
Ca'dd hwnt i'r maes ymdeithio;
Pob un a wedai "druan bach,
Doi etto'n iach, gobeithio."

Mawr ddiolch ichwi, meddai'r Blaidd,
  A boed i'ch praidd gynnyddu,—
Ni laddaf mwy mo'r gwirion rai,
  Pe newyn f'ai'n fy ysu.

Yr hwyr a ddaeth, a daeth wrth hyn
  Rhoi'r defaid yn y gorlan,
Lle'r oedd eu gwely'n dawel bêr,
  Dan wên y sêr nawseiddlan.

Ar ganol nos hwy glywent naid
  Rhyw fwystfil diriaid hyllig
Yn syrthio arnynt, i'w rhoi'n ddellt
  A'i ddanedd melldigedig.

Gwae ni! gwae ni! y Blaidd! y Blaidd!
  E waeddai'r praidd gwirionaf,
Tra'r oedd y gwaed yn goch a brwd
  Yn llifo'n ffrwd erchyllaf.

ESPONIAD.

Y Blaidd yn Rhufain y mae'n byw,
  A'r Defaid yw Prydeinwyr,—
Na fyddwch ffol, ond cofiwch hynt
  Yr amser gynt, fy mrodyr.

## Y LLEUAD.

O mor fwyn yw goleu'r Lleuad,
Ar hyd y nos,
Sydd yn hwylio fy ngherddediad,
Ar hyd y nos;
Mae ei gwawr a'i gwên yn siriol,
Lân Frenhines hardd wybrenol;
Mae ei gwel'd yn llwyr ddymunol,
Ar hyd y nos.

O! mor hyfryd yw ei chodiad,
Ar hyd y nos,
Uwch y bryn yn goron lwysfad,
Ar hyd y nos;
Y mae'r t'wyllwch yn ymgilio,
Y mae'r ffordd yn hardd oleuo,
Y mae 'nawr yn rhwyddach llwybro
Ar hyd y nos.

Tra mae'r heulwen yn ein gado,
Ar hyd y nos,
Mewn tywyllwch du ei amdo,
Ar hyd y nos;
Y mae'r Lleuad wych yn dyfod
Yn ei thro'n garedig hynod,
Er lleihau ein cur a'n trallod
Ar hyd y nos.

Y mae'r dwr mor wyn â'r arian
Ar hyd y nos,
Gan oleuni'r Lleuad fwynlan
Ar hyd y nos;
Pawb yn awr gânt dd'od o'u neges
Adre'n rhwydd i'w lletty cynnes,
Trwy gynnorthwy'r Lleuad hyles,
Ar hyd y nos.

Pan fo dyn dan drymder meddwl
Ar hyd y nos,
A'i obeithion oll dan gwmmwl
Ar hyd y nos;
Hoff yw ganddo ef yn wastad,
Fel mwyn eli i'w ddoluriad,
Rodio'r maes wrth oleu'r Lleuad
Ar hvd y nos.

Edrych arno ef wna honno
Ar hyd y nos,
Fel cyfeilles burlan iddo
Ar hyd y nos;
Fe a deimla fel pe'n ddiau
Na b'ai dim a wnaeth Duw gorau
'Nawr ar glawr ond ef a hithau,
Ar hyd y nos.

# ATTEB

I SILLYDD AB GOMER, yr hwn a roddai gerydd i'r Awdwr, a rhai eraill o'i frodyr awenyddol, am eu diogi yn peidio anfon gohebiaethau i'r GWYLIEDYDD. (Gwel *Y Gwyliedydd,* Rhifyn 58, Tu Dalen 25.)

DYRO gennad, fwyn Wyliedydd,
Imi geisio atteb Sillydd,
Wr â'r duon, eirwon eiriau,
Sydd yn brathu fel picellau.

Chwennych wyf i Sillydd wybod,
Mai peth difai yw *segurdod,*
Yn ei le,—fod mwynwaith natur
Weithiau'n gofyn bod yn *segur.*

Onid *segur* yn y gauaf
Ydyw'r ddaear gain hygaraf?
Fel y dygo ffrwythau hyfryd,
Pan fo'r haf yn hoff ddychwelyd.

*Segur* yw y coed anwylber,
Dros ryw gyfran fawr o amser;
*Segur* hefyd yr aderyn,
Ar y gangen heb un emyn.

*Segur* yw yr ardd a'r llysiau,
Heb fywiogrwydd, gwên, na blodau;

*Segur* y wenynen fwynlan,
Amryw fisoedd yn ei chaban.

A pha ham na cha'r prydyddion
Weithiau fod yn *segur* ddigon?
Fel y gallo'r Awen fwyniach,
Wedi cwsg gyfodi'n gryfach.

Os yw Tegid, os wyf finnau,
Os yw Glàn Geirionydd yntau,
Os yw Dewi Wyn o Eifion,
Os yw Nantglyn, awen ffrwythlon,

Oll yn awr a'n pennau'n llonydd,
Ac yn dawel ar obennydd:
Etto deffry'r fwynber Awen,
Cyn bo hir, a chân yn llawen.

Baban gaiff ei sio i gysgu,
Fel y gallo 'i nerth newyddu;—
Ac am gwsg fe dalwyd punnau
I Feddygon, ar amserau.

Peth sydd fwyaf yn adfywio
Ydyw cwsg, yr wyf yn tystio;
Ar ei ôl mae'r corph yn hwylus,
A'r hoyw enaid yn orhoenus.

Os yw f' Awen innau'n cysgu,
Creulon waith f' ai 'i haflonyddu;
Cei, fy merch, er gwaetha'r cyfan,
Gysgu 'r hun yn hollol allan.

Cenais hyn o gerdd anghymmen,
Pan mae 'nghwsg y fwynber Awen;
Pan gyfodo hon yn heini,
Chwi gewch gân amgenach genni.

---

# AWDL

## AR GREULONDER AT GREADURIAID MUDION.

AWENYDD derydd dirion,
Y Dduwies lwys ddewis lon,
Da medri di ymadrodd
Oreu fun, o bob rhyw fodd;—

I roi'r clod i arwyr clau,
Dien, erfawr, dan arfau,—
A darlunio, drwy laniaith,
Maes y gwaed, nid maws y gwaith,—

I oreuro arwyrain,
A genau gwiw, i Gwèn gain,—
Yn *fynych*, seirian Fanon,
Gelwir di âg eglur dôn,

A mynych i'r dymuniad,
Iawn fun, y rhoi glust yn fâd.

Ar swydd arall, fwyngall ferch
Union, *yn awr* dy annerch
Anturiaf, mewn hynt hoywrydd,
Ac imi rho gammau rhydd.

Cân yn awr, sywfawr y sôn,—yn felus
I'r 'nifeiliaid mudion;
Croywlais eu cyflwr creulon
Darlunia mewn dinam dôn.

Yn y dechreuad o'i gariad gorau,
Iôr da a greodd amryw deg rywiau
O greaduriaid, gwir ydyw ei eiriau,
Erfawr bur iawnwaith, ar fŷr a bryniau,
A gwiw roddodd ar bob graddau--'n benaeth
Adda, wr odiaeth, ddeheuwiw radau.

Pob mil truan gwan sy'n gweini—i'r dyn,
Drwy ordeiniad Celi;
Ei arch, o'r cadfarch i'r ci,
A ddysgant yn rhwydd wisgi.

Union Naf, er hyn ein Ner—iawn hoywffur,
Ni hoffa greulonder
At un rhan, hyd anian dêr,
O'i lanwaith, nefawl wiw-Ner.

Diau erchyllwaith ydyw archollion
I hir ddoluriaw yr eiddil wirion
Anifail distaw, dan hirfraw oerfron, —
Beius yw taro y baw-was tirion
Cynnil, na ŵyr d' amcanion—na goddau
Yr holl regiadau a'r hyll ergydion.

Cwyd d' olygon
I'r nef hoywlon,
Lwys a gwiwlon lys y golau;
Yno bythol
Mae'n drigiannol
Ynad dethol arnat tithau.

I ddyn o rhannwyd, addien y rhinwedd,
Holl arglwyddiaeth y gre'digaeth degwedd,
Hynodwych ddeall,—enaid a challedd,
A mirain rodio mewn mawr anrhydedd,—
Ei swydd ddilyth fyth hyd fedd—boed, er Naf,
Gwaredu'r salaf greadur iselwedd.

Ddewis dra gwirion Dduwies Trugaredd,
Merch Duw ei hunan, mor iach dy annedd,
Iawnaf wen felus, yn nef anwylwedd,
Y fun wyrenig, wiwfwyn, eirianwedd,
Ymwel â'r fron hon mewn hedd,—er mawrlles,
A dysg i'm monwes wiwdasg amynedd.

Dos, fy eglurwen feinwen fanol,
Lle y mynnwn rhodiwn, waith rheidiol,

Loywlon deithwyr, lawlaw, 'n odiaethol,
A da ystyriwn, yn dosturiol,
Oer gur a chyflwr garwol—ymlusgiaid
A phob ehediaid hoff bywydol.

Y gynnes Dduwies lwys dda,—gu wiwlan,
Os gweli greulondra,
Im' yn hygar mynega,
Y galar hyll eglurhâ.

Daccw'r addien darw madien yn rhwymedig,
A'r huad aflan anwar a dieflig
Yn darnio y cnawd o'i drwyn cnöedig,
Fal uffernawl arw anghenfil ffyrnig,—
Rhuadau'r gwan curedig—yn gynnar
A oer ergydia'r awyr rwygiedig:

A Christionogion, dynion di enaid,
Yn fil gorfoleddant fal geirw fleiddiaid,—
Chwarddant a chanant wrth bob ochenaid,
Mal anhoffolion a milain ffyliaid:—
Dyrys ddifyrwch diriaid—rhy greulon,
A esyd dynion, och! yn Sataniaid!

Chwerwon geiliogod, hynod ddihenydd,
Afrywiawg elwir i friwio 'u gilydd;
Diau ammhur yw y cur a'r cerydd,—
Y gwaed a dan i gyd eu hadenydd,—
A dynion mewn dywenydd—gwynfydant
Pan eu gwelant, on'd penna' gywilydd!

Daccw'r aderyn ar frigyn, fawr agwedd,
Mwyngu awr felus, mewn gwiw orfoledd,
Cu wr hynaws, yn cyweirio 'i annedd,—
Da iawn arafwaith dien a rhyfedd,—
Hydera'n ei dŷ eurwedd—am feibion,
Deraf iawn hoywlon wiwdorf anwylwedd.

Daw creulonwas diras, mewn bradwriaeth,
Ammhur alanastr, a mawr elyniaeth,
I rwygo 'i adail oreugu odiaeth,—
Brudd anwiw helynt, bai ar ddynoliaeth,—
Dwyn o'i go'l lwysfad yn gaeth—ei feibion
I boen, weis tirion, heb iawn ystyriaeth.

Cyni y rhieni ceinwar union,
Pwy a iawn draethai, a'u poender weithion!—
Gwyw byth y torrwyd eu gobaith tirion,
Hirloes anhyfryd, o'r lwys wen hoywfron;
Gulweis, â thrymaidd galon,—am eu plant
Y galarant ar y gwïail irion.

Wele'r gwenyn, yn dŷn a daionus,
Yn sugnaw meillion yn hoywlon hwylus;
Yn dwyn eu trysorau, pynnau poenus,
Ar hoff adenydd yn wir ffwdanus,
I lenwi'n anwyl hoenus—eu hannedd
Hygaraf fadwedd, rhag awr ofidus.

Dwylaw dyn yn sydyn ymosodant
Ar eu holl dlysau gorau a garant,

Eu mirain dyrau mawrion a dorrant,—
Yma, wyr ëon, ni ymarhöant,
Eu bywydau nid arbedant ;—mewn bedd,
Hyllaf agwedd, yr holl lu a fogant!

O dygi eu trysor, dig y trosedd,
Yn dra gerwin heb yr un drugaredd,—
O torri eu muriau têr â mawrwedd,
Lle mae'n feunyddiol eu hoff orfoledd,—
Estyn iddynt, hynt mwyn hedd,—eu bywyd,
Gwirioniaid diwyd gwâr, hynod, hoywedd.

Yn y gauaf du oeraf a diran,
Gwael newynllyd drigolion y winllan,
Wiwdda rai hoywdlws, a ddaw i'r ydlan,—
A dwys ofynant, dewisaf anian,
I'w maeth y gweddillion mân—di rinwedd,
Iawn deulu mygwedd, yn dâl am hoywgan.

Onid dyrys benyd diriaid
Troi i annel y trueiniaid!
Lladd â gynnau llwydd y gweiniaid,
Dirion hoywlwys dêr anwyliaid.

Dy ddiddanwch
A'th ddifyrwch, waethaf fwriad,
Yw eu clwyfo
A'u dolurio, dial irad.

Pa beth, ddyn, bryfyn oer brau,—o carai
Duw cywiraf gorau,
Doethwych, dy boeni dithau,
Dy friwio a'th glwyfo'n glau?

I bryfyn[a] llibyn y llawr—neud amlwg
Yr un deimlad gwirfawr,
Yn ei derfyn, wŷn dirfawr,
Y sydd ag i gelfydd gawr.

Clywaist flin, hirflin, oerfloedd—anifail
Dan ofid, yn gyhoedd;
Heb achos, dios, nid oedd—
Nodiad o'i boenau ydoedd,

I ddyn, goleurydd enau—a roddwyd,
I arwyddo'i boenau
A thafod, er clydnod clau,
I ddangos ei ddu ingau.

Anifail milwail a mwyn—o clwyfi,
Ddrwg glafwaith anhyfwyn,
Pan oddef, pwy yn addwyn,
Deg was, a wrendy ei gŵyn?

O mynni 'n hael gael ymgeledd—gan Naf,
A gwiw nawdd er trosedd,

---

*a* "And the poor beetle, that we tread upon,
"In corporal sufferance feels a pang as great,
"As when a giant dies." SHAKESPEARE.

Egora ddor trugaredd
At fil gwan it' fal y gwedd.

Gwêl loesau y gwael asyn,—a'i benyd,
A'i boenau diderfyn;
Dan lidiawg, orphwyllawg ffyn,
Ei dda ochrau a ddychryn.

Nid cyfiawn, iawn ydyw cofio,—y caiff
Y ceffyl ei droedio,
Drygwaith, ar faes i drigo
Yn was henaidd, drymaidd dro.

Rhydew fochyn mae'n rheidiol,—egwanwas,
Ei gwyno 'n drag'wyddol;
E'i gyrrir, mewn modd garwol,
Ar hirdaith, er ei faith fol.

Er ariant, drachwant rhy awchus,—pob pwn,
Pob poenau gofidus,
Yn ddir a roddir, heb rus,
Ar 'nifail yn rhy nwyfus.

Ciaidd a digaidd yw dyn,
Hyll wedd, at bob gradd a llun
O gre'duriaid euraid Iôn,
A chreulonaidd, fel blaidd blin.

Ond iawn iddo
Fyth fyfyrio
A dwys synio, da wasanaeth,

Y geilw'r pennaf
Dduw goruchaf,
I farn iawnaf, ei freniniaeth.

Mawr ei lwydd, dedwydd y dyn
A arbedo'r abwydyn,—
A wrendy lais tirionder
At holl faith anwylwaith Ner,—
A gofio yn gu hoywfad
Pa Bor dwys, pa wiwbur Dad,
A'i lluniodd ar holl anian
Yn arglwydd glwysrwydd a glân,—
A ystyrio'n ddwys dirion,
Mai o gariad iawnfâd Iôn
Yr ydym ni yn rhodio,
Puraf gred, uwch pryf y gro,—
Mai iawn yw rhoi am ein rhad,
Gair dilys, gorau daliad,
Drwy noddi'n dirion addwyn
Holl waith ei law fangaw fwyn.

---

## TOSTURI.

Nid helynt ymladdfa, lle'n cwympo bu gwyr
Yn filoedd ar filoedd trwy'r cledd a min dur,—
Nid hanes rhyw fwrdd-dra mewn brad ac mewn gwŷn
Yn unig sy'n gofyn Tosturi gan ddyn,—

Nac hefyd llongddrylliad, lle'n oer y bu cri
Y fam a'i mwyn faban yn soddi 'n y lli':
Y sawl a ystyrio a gaiff dan y ne'
Wrthddrychau Tosturi yn llenwi pob lle.

Yr hen-wr methedig, yn rhychiog ei rudd,
A ddaw i'm cyfarfod, wna'm henaid i'n brudd;
A phawb a fo'n unig, gwywedig, a gwan,
Sy'n haeddu'n Tosturi yn rhwyddgu i'w rhan.

Y teulu newynllyd, mewn caban llawn cŵyn,
A dderbyn dosturi gan fynwes fo fwyn:
Lle'n llifo bu deigryn yn hanner dan gêl,
Gwir frawdol Dosturi yn gyflym a'i gwêl.

Y lle'n arglwyddiaethu bo gormes a thrais,
Gan omedd i'r truan ei lafar a'i lais,
Sy'n gofyn Tosturi yn rhwydd ac yn rhad;
A'i wir, gywir berchen ei gymmorth nis gwâd.

Wylofain a galar a chur o bob rhyw
Tosturi, bob amser, yn glwyfus a glyw;
Pob hwyr a phob boreu nid hir fydd fy nhaith,
Heb le i Dosturi'n dra gwisgi gael gwaith.

Bydd lle i Dosturi a'i deimlad di nam
Lle byddo'r anifail gwael, mud yn cael cam;
A lle bo creulonedd yn rhoi brath a briw
I'r gwaelaf greadur ga'dd einioes gan Dduw.

## TORRIAD Y DYDD.

Yn brithio mantell t'wyllwch du
  Mae gwawr goleuni mwyn,—
Hyfrydwych ddydd o'r moroedd draw
  Olwynion haul sy'n dwyn:
Bu e'n ymweled ar ei daith
  A pharthau pella'r byd;
Mor ffyddlon y dychwela 'nol
  Yn gywir yn ei bryd:
O'i flaen y daw cennadon dwys,
  Eu rhif na ddatgan iaith,
Yn llu pelydrawg, yn cryfhau
  Bob ennyd ar eu taith.

Y ceiliog ar ei uchel glwyd
  Sydd wedi rhoddi'r gân,
Yn rhybudd in' fod dydd yn d'od
  Ar gerbyd goleu glân:
Ni welwn gynneu ddim o'r coed,—
  Mi wela' 'r dail yn awr:
Yr wybren yn y dwyrain draw
  Sy'n siriol iawn ei gwawr:
Fry o'r simmeiau wele'r mwg
  Yn codi'n arwydd cu,
Fod dydd yn nesu, gan gyffroi
  Bywiogrwydd ym mhob tŷ.

Yn brathu trwy y perthi tew
  Mae'r carwr tua thref,
Yn ol hir aros gyda Gwèn,
  Lle'n ddifyr iawn bu ef.
Mae'r adar bach ym mrigau'r coed
  Yn fywiog iawn bob un,—
Ac mi a welaf ym mhob man
  Holl anian ar ddihûn:
Fel yn y bedd dros dro bu'r byd
  Yn ddistaw ac ynghlo,
Heb swn ond swn y cornant gwyllt,
  Neu'r awel ar ei ffo.

Ond wele etto hyfryd ddydd
  A'i lewyrch mwyn a llon,
A phwy na ddyry lawen gân
  O dwym serchiadol fron?
O! groeso iti, heulwen hardd,
  A brysia uwch y lli',
I euro pen y mynydd ban
  A'th hyfryd lewyrch di:
Ni welaist ti dywyllwch cas
  Erioed; ni wyddost chwaith
Pa fath beth yw,—efe a red
  O'th flaen ar gyflym daith;

A daw ar d' ol,—ond i dy wydd
  Ni feiddia ddyfod byth:
Ynghanol hwn trwy 'r nos, O haul,
  Mae dyn yn gwneyd ei nyth.

I'r golwg dacw 'n dechreu d'od
  Glân lygad cawr y nef,
A phelyderau disglair hardd
  Yn wallt ei amrant ef:
Mi feiddiaf edrych arno 'nawr
  Mae'i wedd yn dirion iawn:
Pwy arno sylla maes o law,
  Yn ngwres canolddydd llawn?

---

# ENGLYNION,

**A wnaed i gysuro hen ŵr,[a] o Geredigion, ar drangcedigaeth ei wraig, â'r hon y buasai briod dros 60 mlynedd.**

ANNIDDAN yw fy nyddiau—a phoenus,—
  Gorphenodd mwynderau,—
A gwynnodd y gwallt gwinau
Oedd gynt yn y gwynt yn gwau.

Dihoenodd y traed heini—o danaf,—
  Y doniau sy'n soddi;
O'u gwirfodd mae'n diffoddi
Y ddau lygad fad, Ow fi!

Hanner byw yn awr yw bod,—fy oriau
  A fwriaf mewn trallod;

---

*a* **Elias Nathaniel, Gwehydd, yr hwn a fu yn hir yn byw ar dir Maesmynach, Ystrad, Ceredigion, lle ganed yr Awdwr.**

Daeth yn rhwydd, annedwydd nôd,
Gyrfa henaint i'm gorfod.

Gyda meirwon mae'm hen gydmares,—fu
Oreu fwyn gyfeilles ;
I'r fynwent aeth o'r fonwes.—
I'r llwch, pan oedd fawr ei lles!

Gwanaidd a henaidd oedd hon,—yn nychu
Dan awchus flinderon ;
Etto rhoddai, lluniai'n llon
Ei siarad ryw gysuron.

Oedd imi *un* ddiamhur—a rannai
I'r enaid fawr gysur ;
Oedd *un*, dan bob gwrthun gur,
A fwyn welai fy nolur.

Unigol wyf, o wan agwedd ;—nesu
Mae noson fy niwedd ;
Ar fyr yr âf i orwedd
O glyw byd i glai y bedd.

Mawr gysur mewn cur oer caeth—i'm meddwl
Yw moddion Rhagluniaeth ;
Duw Iôr mwyn, dy air yw'm maeth
A'm eli, dan drwm alaeth.

Duw cariad, ein Tad wyt ti ;—Duw â llais,
Duw â llef tosturi ;

Ein lles iawn ewyllysi,
Iôr mad, medd dy air i mi.

I dy eiriau fyth hyderaf—finnau
Am fwyniant; a chredaf,
Uwch bedd, er camwedd, y caf
Gu deiau nas gadawaf.

Gorweddaf, hunaf mewn hedd,—a 'ngwely
Yng ngwaelod y dyfnfedd;
A thrwy Naf, caf, o'r ceufedd,
Etto fyw, tu hwnt i fedd.

Caf, yna, ym mysg cyfiawnion—drigfa,
Heb un drygfyd weithion,
O gyraedd gwaeau oerion
Angau a'i rwyg, yng nghaer Iôn.

---

## Y FAM I'W MABAN,

Yn ol claddu ei Dad.

Fy mhlentyn mwyn, ni wyddost pa'm
Yn syllu arnat mae dy fam,
Gan olrhain mewn myfyrdod mud
Llinellau'th wyneb, lawer pryd.

Dy wedd, fy mhlentyn gwirion, mad,
Sy'n dwyn i'm cof dy dirion dad;
Os gwel'd ei roi dan gwys wnais i,
Mae etto'n fyw yn d' wyneb di.

Ni wyddost ti, fy maban mwyn,
Yr hiraeth trist wyf fi'n ei ddwyn,
Na pha'm y methaf weithiau roi
It' wên am wên, â briw'n fy nghloi.

Mae'th dad, fy mhlentyn, dan y gro
Mewn beddrod oerllyd obry 'nghlo:
Mae etto'n fyw i'm meddwl i
Pan syllwyf ar d' wynebpryd di.

Mor dŷn y rhwymi'r fynwes hon
Wrth lwch y bedd, fy maban llon:
Wyt drech nag Angau trwm ei gledd,
Wyt, wyt, er gwanned yw dy wedd.

A chwarddi di, fy maban bach,
Yn f'wyneb i fel hyn yn iach?
Beth am y byd a'i drais, a'i dwyll.
A'i faglau fyrdd, sy'n d'rysu pwyll?

Mae'r rhai'n o'th flaen; mae cynghor tad
Dros byth ar goll, fy mhlentyn mad;
A'th fam ar fyr, ef allai, fydd
Yn briddell oer mewn lletty cudd.

Bydd yna'th ran a'th gyflwr syn
Fel rhyw blanhigyn ar y bryn,
Heb gysgod rhag yr ysawl wynt
Cynddeiriog ar ei ffyrnig hynt.

Ond chwardda di,—mae nefol Dad
It' etto'n fyw,—efe ni'th âd;
Gŵyr ef am danat; gŵyr, a gwna
Dros bawb o'i blant yr hyn sydd dda.

Os trwy ei gymhorth ef—Iôn mawr
Yr wyt yn gwenu'n iach yn awr,
Paham na chredaf mai mewn hoen
Y treuli'th ddydd, heb gur na phoen?

O! chwardda, 'mhlentyn, yn y bla'n,
Yr wyt dan aden Noddwr glân;
O dan ei dyner ofal ef
Cei yma ddechreu bywyd nef.

Cei yn y bur drag'wyddol wlad
Ail gwrdd â'th hoff rieni mad;
Lle na bydd rhaid ymadael mwy,
Nac ofni galar, cur, na chlwy'.

# YMDDIDDAN

Rhwng Iwan, (sef y diweddar Barch. David Williams,[a]) ag Ieuan, (sef Daniel Ddu :) Iwan oedd wedi bod yn canu yn alarus ac yn bruddglwyfus ar y testun "Bedd fy Nhad ;" ac amcan Ieuan oedd ei ddenu yn gariadus i dynnu ei feddwl oddiwrth ei glefyd, mor belled ag y byddai modd, rhag i hynny niweidio ei iechyd yn fwyfwy.

IEUAN.

Dywed imi, gyfaill Iwan,
  Onid bai yw chwalu'r fron
A meddyliau'n friw a dorrant,
  Fel y dur, y galon don ;
Gwell yw codi fynu'r olwg,
  Na braenaru'r enaid mad,
Y mae myrdd yn gorfod edrych,
  Fel dy hun, ar *fedd eu tad.*

IWAN.

Mewn myfyrdod prudd, fy nghyfaill,
  Nid wy'n canfod unrhyw fai ;
*Puro* wna, ac nid dolurio
  Y lygredig galon fau :

---

a Mr. D. Williams oedd fab i Mr. Williams, o Ben-pont-bren, Llanbedr, Ceredigion ; yr oedd yn Bregethwr gyda'r Bedyddwyr ; a bu gryn amser yn cadw Ysgol gyda mawr lwyddiant a chlod. Dyn o ddyfnder synwyr, ac o archwaeth neillduol at wir brydyddiaeth oedd Mr. W. Mae rhai o'i ganiadau mor gyson â natur ag unrhyw gerddi yn ein hiaith ni ; ond ni hoffai Iwan fesurau caethion Barddoniaeth, er ei fod yn eu deall. Bu farw yn ieuangc, o gylch 28ain oed.

A ddisgwyli i mi ganu
  Molawd merch, neu glod fy ngwlad,
Gan grechwenu'n ffol, a llammu,
  Pan b'wy'n syllu ar *fedd fy nhad.*

IEUAN.

Rhaid i alar gael ei derfyn,
  Rhaid i'r enaid gael rhyddhâd;
Gormod baich i ddynol anian
  Syllu fyth ar *fedd ein tad;*
Y mae dannedd mân gan Brudd-der,
  Rai na welir ddim o'u llun,
A ddifethant bob yn 'chydig,
  Nerth a gallu enaid dyn.

IWAN.

Dyn, fel fi, ar fin ei feddrod,
  Ddylai droi'i olygon draw,
'N fynych ar ei wely priddlyd,
  Ac ar fryniau'r byd a ddaw:
Ceir mewn Prudd-der fwy o fwyniant
  Nag a ddyry masweda ffol,
Mae llawenydd dae'r yn gadael
  Gwenwyn aspaidd ar ei ol.

'R wyf yn caru rhodio'r gelltydd,
  Ganol nos, i ddweyd fy nghwyn
Wrth y t'wyllwch tew sy'n cuddio
  Hudawl wenau anian fwyn;

Yna hed fy meddwl pruddaidd
  I'r uchelder tawel fry,
Ac a ddwg o lysoedd prudd-der
  Faeth a mêl i'm henaid i.

IEUAN.

Meddwl gormod am y beddrod
  Sy'n dihoeni anian fwyn;
Cwyd i fynu dy olygon,
  Gwêl yr adar ar y llwyn;—
Gwêl hwy'n chwareu ac yn neidio
  Clyw eu llais pereiddiaf llon, —
Llais a lonna, 'nghâr, os coeli,
  Dy gystuddiol bruddaidd fron.

Nid llawenydd *ffol* wy'n gynnyg
  I dy feddwl, gyfaill gwiw,
Ond dywedaf fod llawenydd
  *Pur* yn nghreadigaeth Duw:
Gwawr yr haul a gwên y bore,
  Hyfryd lais yr adar mân,
Wybren las, a dôl feillionog,
  Ynt wrthddrychau glwys a glân.

IWAN.

'R wyf yn caru rhodio'r maesydd,
  Gwrando'r ednod yn y llwyn,
(A phan allwyf dd'od o'm gwely)
  Gwel'd yr haul yn codi'n fwyn;

Ond ni ront i *mi* ddiddanwch,—
Rhaid yn awr cael mwyniant gwell;
Pob rhyw gerdd ddistawa'n ebrwydd—
Sawdd yr haul i'r dyfnder pell.

---

## AR FARWOLAETH IWAN,

1823.

WAELED a salea is sêr—yw beroes,—
Mae'n bwriad yn ofer;
I bridd-dŷ 'r aeth (och brudd-der)
IWAN bach a'i awen bêr.

Unllais cyd-genais âg ef—yn ddiau
Ar ddaear—ac unllef
Y canom mewn cu wiwnef
I enw ein Iôr, yn y nef.

Yn y ddaear, gâr, gorwedd—yn dawel,
Nes deuo'r awr ryfedd
Y cyfyd, uwch y ceufedd,
Duw Iôr ei had i dir hedd.

# MARWNAD

Y diweddar BARCH. ELIEZER WILLIAMS, M.A., Periglor ac Ysgol Feistr, Llanbedr, Ceredigion; bu farw Ionawr 20, 1820, yn 68ain oed.

GALARUS, i'r gwael weryd,
Wych awen fach, o wyn fyd,
Troi'r olwg trwy oer waywloes,
A dilyn hynt wael ein hoes;
O'r byd troi'r llygad i'r bedd,
Ac o haelfyd i'r culfedd.

A di lai, f' awenydd dlos,
Oruchel, hyn yw'r achos
Im' dewi c'yd am deg gâr,
Diwael, fu dro mewn daear.

ELIEZER, pêr, purwedd,
WILLIAMS bach, a glymwys bedd;
A dios achos ochi
Drwy'm oes yw'r chwerwder i mi.

Oedd dda gyfaill haeddai gofion
Am wir gariad im', wr gwirion;
Loes i giliau y lwys galon
Gloi am wyneb Gwilym union.

Fy Athraw[a] hylaw hoywlwys—a gwiwlon,
Fu Gwilym oreuddwys;
I'm oerddu fron cur mawrddwys,
Wirion gâr, ei roi'n y gŵys.

Mae'n rhaid i'm henaid ddihoeni—('mswynaf!)
A'm synwyr wallgofi,
O Williams, cyn yr eli,
Y cuaf wr, o'm cof i.

Tra'r gwaed yn têr ergydio—trwy'm mynwes,
Tra'm anadl yn effro,
Rhaid i'm fyth, er dim a fo,
Fy hen gyfaill fwyn gofio.

Ei ddoniau fu ddiddanwch—ac eli
I'm calon mewn tristwch;
Geiriau ei gyfeillgarwch,
Dda wr llon, ni ddaw o'r llwch.

Er dàl, er cynnal cwynion,—briw enaid,
Er bronnau hiraethlon,
Mwy ni chlywir, ar dir, dôn
Ei ddoniawl ymddiddanion.

---

*a* Awdwr y Llyfr hwn a gafodd ei ddwyn i fynu dan ofal athrawiaethol y Parch. Eliezer Williams, cyn ei ymsymmud i Rydychen; a chyda mawr hiraeth y mae efe yn adgofio parodrwydd ei gariad, tynerwch ei gynghorion, hynawsedd ei ymadroddion, a doethder ei lefariad.

Ei lygad oedd fad, oedd fyw—a siriol,
Fel seren oleufyw,
Gwelw yn awr yn y glŷn yw,
Bore fwyd i bryf ydyw.

Beirddion teg, o briddo'n tad,—yn gydwedd
Iawn godwn alarnad;
Y genau lle bu ganiad,
Di 'stwr a mud yw ei 'stad.

Yr Awen gu, eirian ei gwedd,—gollodd
Ei gallu a'i mawredd;
Wyla fyth ar ael ei fedd,
Heb un gair, tra bo'n gorwedd.[b]

Ydoedd ieithydd,
A duwinydd,
Ac hanesydd gwiw hen oesau;—
Fe fu'n odiaeth
Bleser helaeth
Ei farddoniaeth i fyrddiynau.

Ond er doniau,
Rhagoriaethau,
Dewis raddau, a dwys roddion,

---

*b* Ni wyddwn pan wnaethum ddefnydd o'r Englyn yma ar yr achos hwn, fod Cymdeithas y Gwyneddigion, yn Llundain, wedi ei ddewis yn Fedd-argraff Thomas Edwards, (Twm o'r Nant,) i'r hwn achos y cyfansoddais ef ar y cyntaf, yn hir cyn yr Awdl hon.—*D.E.*

Beddrod obry
Ydyw lletty,
Du oer wely daearolion.

Bydd wych, os i'r rhych oedd rhaid
It' hedeg at dy wiwdaid;
Dos yn iach, ni thâl achwyn,
Yn ol y câr ni eilw cŵyn;
Etto'n glau, dagrau ar d' ol
Rhedant, er nad yw rheidiol;
Dy lân reddf a'th gynneddfau
A gaiff eu hir wiw goffhâu.

Yn dy happus
Annedd iachus,
Iaith anhoenus, a thi'n huno,
Gan Frythoniaid
Bydd yn ddibaid
Taer ochenaid hir a chwyno.

Dy gu eiriau, dy gariad,
Yn ffynnon o rwyddlon rad,
A redai yn wir odiaeth,
Fal y llif, o fêl a llaeth:
Megis brawd, ymgais a bri
Dy enaid oedd daioni,—
Daioni i bob dynion
A hwyliai fryd dy hael fron.

Dwyn o bwll yr adyn bach,
O bur egni, heb rwgnach,—
Rhoi ei gyngor, rhag angen,
Yn hael i ieuangc a hen;
Rhoi'n ddistaw o'i law a'i lys,
A allai, o wir 'wyllys,—
Gweini'i rodd i'r gwan ei rym
O galon a wnai Gwilym;
A chwyno, os nid 'chwaneg,
Fal Cristion, dros y fron freg.

Fel anwyl dad, ddi frad fron,
Yn gwblwedd i'w ddisgyblion,
Oedd Williams, ac ni ddaliai
Hir wg am fawrddrwg neu fai.
Da ystyriol dosturi
A lanwai'i fron, lanaf ri;
A chlywai, pan godai gais,
Afradlon ei hyfrydlais.
Ei gywir ddwys gerydd o,
Wr boddus, f'ai rhybuddio,
A gwiw arddangos y gwall,
A'r ing a ddoe i'r angall
Araf fwyn eiriau o fêl
I'r un diwyd roe'n dawel.
Ac ethol annogaethau,
Dyner wr, o dan yr iau.

Oedd ganwyll yn hardd gynnu,
Wawl llon, i oleuo llu;

Diwygiai y gym'dogaeth
A'i addysg i'n mysg er maeth:
O falchder ofer afiach
Ei dirion ddwyfron oedd iach;
Iawn fugail i'w gail deg oedd,
Gweinidog y gwan ydoedd.
Siomwyd torf o'th symmud di,
Frawd hyfwyn, o fro Teifi;
Wylwn oll am alw o Ner
Oleu'n byd o Lanbeder;
A rhoi i bwll oer y bedd
Da ganwyll De' a Gwynedd.
Y dydd yr aeth ef dan dô
Llawer ael fu'n llwyr wylo;
Yr awr yr aeth i'r oer-rych
Ni bu sôn am wyneb sych.

Was cyfiawn, melus cofio
Ei dêr ddwys ymadrodd o,
Yn wiw ddysg o'i enau ddaeth
Ar wely ei farwolaeth.[c]

---

c Ei ymadroddion, ychydig cyn ei anadliad olaf, â dau neu dri o wyr ieuaingc, offeiriaid, a ddygasid i fynu dan ei ofal, oedd ryfeddol ddwys a chyffrous. "Chwi welwch, (eb efe,) nad yw dysgeidiaeth yn yr awr hon (awr marwolaeth) o ddim lles heb dduwioldeb. Rhaid i gorph gwael y dysgedig a'r annysgedig, yn ol ychydig ddyddiau o ofalon a helbulon, ddychwelyd i bridd y bedd, ond yr unig sylfaen gadarn a saif ar awr angau ac yn wyneb y byd tragywyddol, yw duwiol-deb. Byddwch, (meddai efe,) (a chyda phwyslais ac egni

Dan ei boenau,
A'i ddu loesau,
Ar awr angau, er yr ingoedd,
Oedd i'w nerthu,
A'i ddiddanu,
Crôg yr Iesu, Craig yr oesoedd.

Diammeu gofid yma gafodd,
Ei iawn fron wiriawn a fraenarodd;
Croesau, addoer boenau dderbyniodd,
Ei dda hoyw enaid a ddihoenodd;

---

rhyfeddol y dywedai y geiriau,) byddwch ffyddlawn weinidogion Crist." Meddai wrth ei blant ag oeddynt yn llefain o amgylch ei wely ychydig cyn ei ymadawiad, "Fy mhlant anwyl, yn llefain y daethoch i'r byd, ac ef allai mai yn llefain yr ewch trwy y byd, ond gobeithiaf y byddwch yn *canu* wrth fyned allan o'r byd."

Mi gofiwn dy hynawsedd, a'th eiriau mwynaidd mad,
A roit i'th ysgolheigion, wr tirion, fel eu tad;
Mi gofiwn fyth mor heini yr o'it i godi'r gwan,
A gwneyd dros bob cyflyrau neu raddau'n wych dy ran.

Ffarwel! fy nghâr anwylaf a rhwyddaf is y rhod,
I ti mewn hyfryd ardal mae heddyw dâl yn dod;
I dderbyn meibion Cariad gan Dduw mae gwlad a gwledd,
Lle trigant dan ei gysgod yn hynod iawn eu hedd.

I ninnau, Dduw'r gwybodaeth, rho helaeth galon hael,
I deimlo'n wych a mwynlan byth dros y gwan a'r gwael;
A dilyn Iesu isel gan dawel gofio'r dydd
Y'n gelwir o'n mynwentau a'n rhwymau oll yn rhydd.

Er hyn mae gan Rhên y modd—i wellhau,
Coeliaf ei eiriau, 'r clwyf a yrrodd.

Y mae tiroedd a gwiw lysoedd glwysion,—
Y mae caerau, neuaddau newyddion,
Man nad oes gweli mewn un dwys galon,
Na chwerwaidd ddufrad, na chur i ddwyfron;
Ond dethawl bêr ddanteithion—ar fwrdd gwych
Da einioes hoyw-wych, ein Duw yn Sïon.

Ac yno yn drigiannawl,—mi goeliaf,
Mae Gwilym yn siriawl;
Gwyn ei fyd, a'i gân o fawl
I'w Dduw union yn ddoniawl.

A'i dywedodd Duw ydyw,
A gair y nef gwir in' yw,
Mai Cariad, anwylfad naws,
A ddilëa ddu liaws
O feiau'n hegwan fywyd,
Ar ein taith i fawrfaith fyd.

Oedd anwyl i'w gyd-ddynion,—
Anwyl yw yn nheulu Iôn;
Holl lu y nef llawen ŷnt,
O'i roddi'n gymmar iddynt.

Pan aeth i fysg peneithiad
Y nef ar orchfygawl naid,

Bu'n fud dros ryw funudyn
Cerdd eu Duw er cwrdd â dyn,
A'r Iôn o'i fainge, eirian fodd,
Adwaenai,—a Duw wenodd.

---

# ENGLYNION

**O barchus Goffadwriaeth am y diweddar Fardd ac Hanesydd,**

IOLO MORGANWG.

DE'WCH, Feirddion iawnion, yn unwedd,—i lwyr
Alaru, dan dristedd,
O yrru, 'n wael i orwedd,
Tad y Gân, i fudan fedd.

Anialwedd heb ein IOLO,—dua' glwyf,
Ydyw gwlad y Cymro;
Y da Dŵr, o dô i dô,
Ar ei ol bydd hir wylo.

Morganwg, os mawr gwyno—a weli,
Am farwolaeth IOLO;
E rydd Beirdd Cymru iddo
Fôr o gân,—ni chaiff farw'i go'.

Hunodd,—ond saif mewn hanes—ei gofiant
Yn gufad ac eres;
Ceir llu'n datganu'n gynnes
I'n hiaith lân faint wnaeth o lês.

Daliodd i'r lan mewn duloes—yr Awen
Oreuwych, yn eirioes;
Ni adawodd, mewn düoes,
I'n hiaith derfynu ei hoes.

Er loes, ac er croes, ac er cri—miloedd
Am weled ei soddi,
IOLO hoff a'i daliai hi
Uwch y dòn,—â'i fraich dani.

Helynt ei wlad wen hoywlan,—ei llwyddiant
A'i holl ludded trwstan,
Gwyddai, iawn gofiai'n gyfan,
Gymro glew o gamrau glân.

Os oedd mewn Hanesyddiaeth—yn llewyrch,
Nid llai ei wybodaeth
A'i bur ddawn mewn Barddoniaeth,—
O'i ben didrai ffrydiai'n ffraeth.

Cynnilwych f'ai cân IOLO,—a gemwaith,
Nid rhigymau diglo;
Llawn synwyr, yn llon seinio,
A gwrdd waith fyddai'i gerdd o.

Y gwannaf mewn ymadrodd gweniaith—oedd,
Er meddu cadarniaith;
Y gwir[a] a'i hoff ragorwaith,
Goron fad, a garai'n faith.

Golud ni hoffai'i galon,—na mawredd,
Nac ymyrraeth beilchion;
Gwelai, trwy aml argoelion,
Frys a hynt y fer-oes hon.

Rhyw hen femrwn[b] crwn, y'mron crino,—llwyd
A pheth Lladin arno,
Yn fwyaf f'ai'n adfywio,
Gulan wr, ei galon o.

Er grym pen cyflym, er co'—ehelaeth,
Er hylwydd fyfyrio,
I'r beddrod caeth daeth, do, do,
Prudd hanes,—pridd yw heno!

Ond os (modd trwch) llwch oer llaith—yw'n Iolo,
Fwyn wiwlan gydymaith,

---

a Cyfeirir yma at arwydd-air y Beirdd, sef "Y Gwir yn erbyn y Byd;" ac nid at ei ddaliadau crefyddol, beth bynnag oeddynt.

b Hysbys yw mai llafurus gasglydd Ysgrif-lyfrau ydoedd, a'i fod yn mwynhau yr hyfrydwch mwyaf yn y gwaith. Dylai ei ymdrechiadau canmoladwy, dros achos ei genedl, sicrhau i'w enw glod ac anrhydedd, gan bob Cymro

"A garo lwydd gwyr ei wlad."

Marwol nid yw y mawrwaith
Wnaeth ei law,—iawn ethol waith.

Saif hwn tra y safo heini—Awen,
A hoyw-waith barddoni,
Tra mawr haul, tra môr heli,
Yn loyw'i fraint, yn olau'i fri.

---

# AWDL

## AR FARWOLAETH Y DIWEDDAR BARCHEDIG JOHN JENKINS, A.M., PERIGLOR CERI.[a]

Bu farw yn y flwyddyn 1829.

Cynnar dan ddaear oer ddu—e'i dodwyd,
Er didawl wae Cymru;
Dros Walia lân a'r gân gu
Mae du-niwl yn ymdaenu.

Gwr oedd o foesau gwareiddiaf—a gwr
A garem yn bennaf:
Ei gufwyn wên â gofiaf,
Gwên o hyd yn dwyn gwyn haf.

Selog a serchog i'w swydd,—oruchel
Wir achos yr Arglwydd;

---

a Mr. Jenkins oedd enedigol o Gilbronnau, Ceredigion.

A gwelid, er teg wiwlwydd,
Yn daer o'i blaid wyr ei blwydd.

Ochain y mae'r rhai'n mewn echur—beunydd,
Dan boenau a dolur:
Aeth dan y llen eu Pen pur,
Dan gwys eu dien gysur!

Yng nghur caid ei gynghorion—yn nodded,
Yn addysg iachuslon:
B'ai'i gynghor coeth, doeth ei dôn,
O flaen gwin i flin gwynion.

Brawd o deg waelawd ei galon—oedd ef,
O ddifai amcanion:
Caid yn ei annedd wledd lon,—
Ger ei fwrdd gôr o Feirddion.

Ifor Ceri! ti, fel tad,—yn addas
A noddit ein henwlad:
Gwael oernych a galarnad,
Trwy ddewr lef, sy'n treiddio'r wlad!

Gwrdd reieidr gruddiau'r Awen—wyw, lwythog,
A wlithant y ddae'ren;
Griddfanau'th gerydd, Feinwen,
Yn iaith bŵl a ddaw o'th ben!

Llawenydd, iawngall ynad,—o ceisiai
Er cysur gorenfad,

Difyrwch mewn *da* fwriad
A luniai'i fwyn galon fad.

Wrth raid, o'i enaid iawnaf,—dylifai
Da lafar mwyneiddiaf:
Meddai fron ail hinon haf,
Ddihoced, foneddicaf.

Difalch fel harddwas Dofydd—e'i cefid,
Enwog gyfaill haelrydd;
Darian glân, drwy ein glennydd
Ei gof ef yn gu a fydd.

A bydd iddo, uwch bedd, haddef—dawel
Gyda Duw y lwysnef;
A gogoniant gwiw gu-nef,
Gwleddau a chaniadau nef.

Llawn gwres cariad mad a mwyn,—wedd anwyl,
Oedd ei enaid gwirfwyn:
I noddfa hedd yn addfwyn
Y byd mynnai ddiwyd ddwyn.

Oerddu garchar mewn daear yw'n diwedd
A'n lle oer anwiw, bawb oll yr unwedd;
Yno dan ddidor gloion ca bonedd
Ran y salaf,—yr un yw eu sylwedd:
Myfyrio'n ffol am fawredd—a wna dyn,
Ac e, wyfyn, y foru'n y ceufedd.

Ioan a welodd yn union olau
Y gwir hwn, yn ei amrywiog rannau:
Oer ofal bydol, dan ry-ffol raffau,
Ni chafodd ddal mewn nych ei feddyliau:
Da ei glod, yn ddiwyd glau—am nef wlad
Rhôdd ei lwysfad fyfyriad yn forau.

Fel pren plàn ar lan dôl wych,
Yn nhawel ddyffryn hoyw-wych,
Dan hyfryd wên heulwen haf,
A nos iddo'n nawseiddiaf,
Dygai ffrwyth, yn deg hoff rodd,
Yn fadwych a addfedodd,
A thrwy'r wlad yn llad mwyn llon
Gwelwyd ei degwch gwiwlon.

Brawdgarwch brwd a gorau
Yn fwyn hoff a fynnai hau,
Gan faeddu a llaesu llid
I weis Naf ag sy'n ofid:
I'w wlad cywir siampl ydoedd,
Glân wr, a'i goleuni oedd:
Yn iachus y chwennychai
Wir lwydd yn rhwydd i bob rhai.
Rhagrith a'i hyll-ffyrdd rhygroes,
Addwyn lyw, oedd iddo'n loes,
Un oedd, pan y beiai neb,
Wnai hynny yn eu hwyneb:
Goleu y ceid ei galon,
Heb ddichell yn harddgell hon.

Cwblwir elyn pob cabledd,
Ei fryd f'ai o hyd ar hedd.
Cam a dig rhwng cym'dogion
A roi friw i'w dyner fron:
Tawelwch rhwng mad deulu
Yr Iôn gwâr a garai'n gu,
A chynnydd ar grefydd gras,
Yn harddwch ac yn urddas,
A gweled ôl duwioledd
Ar y byd cyn myn'd i'r bedd.

---

# GOLWG

## AR GYFLWR YR IUDDEWON.

### CYNNWYSIAD.

**Golwg ar gyflwr presennol Had Abraham.—Eu gogoniant gynt fel cenedl.—Eu gwrthodiad o'r Messiah.—Y canlyniad o hynny, sef dinystr eu dinas a'u gwasgariad hwythau.—Agwedd druenus gwlad Canaan y dydd heddyw.—Galwad ar Israel i gredu etto yn y Messiah, a'r effeithiau dedwydd a ganlyn.**

Galara, fy Awen, Fun geinwen, fwyn gu;
Na attal y dagrau ar d'wyneb sy'n lli';
Meddyliaist am wrthddrych tosturi gwir fawr,
Na attal y dagrau, ond ffrydient i'r llawr.

Had Israel yn athrist sy'n gostwng dan gur,
Dros feithion flynyddau 'n ymddifaid o'n tir,—

Heb gael un ymgeledd na nodded dan nen,
Heb ddinas ar ddaear i lawr i roi'u pen.

Pob teyrnas a'u gwrthyd[a] fel sothach rhy sal,
O dir ni roir iddynt un dernyn am dâl;
Yn warth ac yn ddirmyg y crwydrant ar hyd
Holl gonglau pellenig ac anial y byd.

Ai chwi, 'nawr mor isel, yw'r genedl fu gynt
Dan nawdd y Goruchaf mor hwylus eich hynt,
A'r môr ichwi'n ufudd, a chestyll o'ch bla'n
Yn syrthio'n wirfoddol, heb arfau na thân?

Os heddyw'ch bychanir, yr amser a fu
Y gwlawiai y nefoedd eich ymborth i chwi;
A phan y sychedech, mewn anial dir cras,
Duw berai i ddyfroedd o'r graig dorri i ma's.

Glân haul[b] y ffurfafen, mae'n deilwng o go',
Wrth arch un o'ch meibion arosai 'n ei dro,—
A'r wenlloer ddisgleirwawr yn entrych y nen
Dros gyfan ddiwrnod a safai uwch ben.

---

a Yr Iuddewon, o herwydd nad ydynt yn cydffurfio â chrefydd sefydledig unrhyw wlad neu lywodraeth, ni chânt eu gwneuthur yn ddinasyddion; ac felly nid ydynt gyfrannogion o'r breintiau ag mae eraill yn eu mwynhau.

b A'r haul a arosodd, a'r lleuad a safodd, nes i'r genedl ddial ar eu gelynion. Gwêl Jos. x. 13.

Pwy'n glau a orchfygodd Goliath y cawr,
Mewn pres yn döedig o i wddwg i'r llawr?
Bugeilwas[c] llengcynaidd o'ch ethol had chwi
Trwy Dduw a'i concwerodd, er cymmaint ei fri.

Yn eiddoch bu Teyrnas helaethwych a llawn,
Brenhinoedd clodforus am olud a dawn;
Yn eiddoch bu Temel oedd syndod y byd,—
Pwy draethai' i gogoniant a'i gwychder i gyd?

Bu'n eiddoch Brophwydi, â'u genau'n datgloi
Dirgelion y nefoedd, a Duw'n eu cyffroi:
Yn foreu bu Dafydd, tywysog y gân,
Yn llenwi'ch mynwesau â dwyfol[d] bur dân.

Eich Dinas[e] fawr gaerog o Sïon pwy sydd
Na ŵyr am eu hanes odiaethwych, un dydd,—

---

*c* Am hanes Dafydd yn gorchfygu Goliath, gwêl 1 Sam. Pen. xvii.

*d* Iawn y gellir dywedyd fod Psalmau Dafydd yn llawn o "dân dwyfol." Pwy erioed a'u clywodd neu a'u darllenodd heb deimlo ei fynwes yn gwresogi? Ym mha gyflwr bynnag y byddom,—mewn gorthrymder o herwydd cyfeillion gau,—mewn cystudd, yn gorfod yfed chwerwon ddyfroedd Mara, neu ynte yn gysurus ac yn llawen o herwydd cynydd ein hachosion tymmorol neu ysbrydol, ac felly yn cael "gorwedd mewn porfeydd gwelltog, gerllaw y dyfroedd tawel,"—y mae rhyw rai o'r Caniadau dwyfol hyn yn taro yn uniongyrchol at ein sefyllfa, ac yn dwyn ein meddyliau cyffroedig at y BOD mawr, eiddo yr hwn yw'r ddaear; y byd ac oll sydd ynddo."

*e* Jerusalem.

A Charmel hardd fynydd, man cofus mewn
cerdd,
A dyffryn hyfrydlon glas Saron lwys werdd?

Trwy'r hollfyd mewn cofiant mae Lebanon fryn,
A dyfroedd iachäol Siloam, deg lyn,—
A llawer man arall o Ganaan ddi gaeth,
Lle ffrydiai llifeiriant o fêl ac o laeth.

Bu'n eiddoch fendithion o rif y mân wlith,
Ac Arglwydd y lluoedd a drigai'n eich plith;
I chwi, diau, 'n unig, o bawb dan y nef,
Arwyddion gweledig o'i wyddfod roes ef.

Yn nerthus gynnorthwy yr Arglwydd a fu
I ymladd eich brwydrau, i gynnal eich bri:
Derbyniodd eich offrwm, er trosedd tra maith,
A dagrau merch Sion a sychodd gàn waith.

Os heddyw'ch cystuddir, anghariad y nef
Haeddasoch, O Israel, cyfiawnder a lef;
Os melldith a orphwys yn drwm ar eich had,
Mae'ch dwylaw chwi'n euog o wirion bur wa'd.

Calfaria! pwy welaist yn dioddef ar bren,
A choron lem bigog o ddrain ar ei ben;
A llu yn ei wawdio, a phawb o un fryd
A'u cais am ryw newydd, wnaeth ddirmyg o
hyd?

Pa'm crynit ti, ddaear, trwy'th gonglau tra
maith,
Pa'm, haul, y tywyllit rhag c'wilydd o'r gwaith?

Pwy ydoedd y Person? Clyw, Israel, O clyw,
Glân Seiliwr y bydoedd—tragwyddol Fab Duw.

O nef y gogoniant os na ddaeth i lawr
Yn ol eich disgwyliad, mewn harddwisg[f] y wawr,
Fe oedd y Messiah,—dangosodd ei nerth
Fel gynt heb ei difa i losgi rho'i 'r berth.

Rhoes ef, gan ymdeithio trwy'ch hyfryd fro wiw,
Eu golwg i'r deillion, i'r byddar eu clyw:
Pa allu dröasai'r ffigysbren yn grin
Ar air, ond awdurdod ar natur ei hun?

Y gwynt a'r tymhestloedd fu'n ufudd i'w lais,
A'r moroedd ymchwyddawg tawelent i'w gais:
Y meirwon o'u pridd-dŷ a ddeuent i'r lan,
Wrth air ei orchymmyn yn fyw yn y fan.

O'r beddrod cauedig fe gododd ei hun,—
Yr hyn, er creu daear, erioed ni wnaeth dyn:
Esgynnodd ar gymmwl, yn ddisglair ei wawr,
I nef y gogoniant, lle'n eistedd mae 'nawr.

Ond hyn ni'ch boddlonai mai fe oedd yr un
Addawai'r prophwydi mewn llais yn gyttûn:

---

*f* Yr Iuddewon a ddisgwylient y Messiah i ddyfod ar gymmylau'r nef, mewn rhwysg mawr a gogoniant, fel penrhyfelwr, i'w gwared oddiwrth iau y Rhufeiniaid.—ond efe a ddaeth mewn modd llwyr wahanol.

I garchar ac angau cai 'r rhei'ny eu rhoi,
Y sawl o'ch cyfeiliorn a geisient eich troi.

Gwargaled, O Israel, gwargaled yn wir
A fuoch i dorri yr Arglwydd o'r tir,—
Y dagrau a gollaf, mewn galar oer maith,
Fel Mair wrth y beddrod, pan gofiaf y gwaith.

Cynghorodd chwi'n addfwyn, yn dirion, fel tad;
Fe wylodd mewn alaeth dros ddinas eich gwlad:
Mynnasai[g] eich casglu, mae 'i eiriau fe'n dyst,
Dan aden ei gariad, ond chwi ni roech glust.

O na wybuasech, â'ch genau yn fud,
Y pethau berthynent i'ch heddwch mewn pryd:
O'r diwedd fe'u cuddiwyd o'ch golwg, och fi!
Amynedd y nefoedd, mae terfyn i ti!

Nawr dydd[h] bygwthiedig y dial a ddaeth,
Dydd "ffoi i'r mynyddoedd," dydd galar ac aeth.
Jerusalem gaerog! gwêl d'olud ar dân,
A dydd cyfyng-gyngor ar fawrion a mân.

---

*g* Jerusalem, Jerusalem, yr hon wyt yn lladd y prophwydi ac yn llabyddio y rhai a ddanfonir attat, pa sawl gwaith y mynnasswn gasglu dy blant ynghyd, megis y casgl iar ei chywion dan ei hadenydd, ac nis mynech! Mat. xxiii. 37.

*h* Ynghylch rhagfynegiad dinystr Jerusalem, gwêl Mat. xxiv., a Luc xxi.

Y nefoedd ysgydwir,—yn rhuo[i] mae'r môr,—
Arwyddion dychrynllyd digofaint Duw Iôr:
Dy blant trwy'r heolydd, arswydus yr awr,
A syrthiant yn feirwon mewn llewyg i'r llawr!

Gwae chwi sy'n rhoi bronnau—yn awr a dry n sych;[j]
Babanod a welir yn marw o nych:
Ymddengys trallodion heb rif, o bob rhyw,
Fel iawn y disgwylid yn ddig pan b'ai Duw.

O'r Demel ni adwyd un ma'n ich' ar fa'n,—
Gogoniant merch Sïon difäodd y tân,—
A'r gweddill o'i meibion, yn gaethion a gwael,
Trwy'r hollfyd a werthwyd[k] yn filoedd am fael.

---

*i* Er y crybwyllir yma am amgylchiad ag sydd wedi cymmeryd lle er ys yn agos deunaw cant o flynyddau, sef dinystr Jerusalem, etto y mae'r awdwr yn llefaru yn yr amser presennol gydag amcan i ddwyn y darllenydd i ganfod, fel o flaen ei lygaid, yr olygfa alarus ac ofnadwy hon.

*j* Ac fe fydd newyn, &c. Mat. xxiv.

*k* Pan amgylchid Jerusalem gan Titus Vespasian, dywedir i gant a deg o filoedd o'i thrigolion farw o newyn, &c., a phan ddarostyngwyd y ddinas, i bedwar ugain a dwy ar bymtheg o filoedd gael eu cymeryd yn garcharorion, a'u gwerthu wedi hynny yn gaethweision, neu eu gyrru i ymladd â chreaduriaid rheibus, y rhai a'u llarpient ac a'u darnient er difyrwch i'w goresgynwyr creulon. Am lawn hanes cwymp Jerusalem, gwêl Josephus.

Eich telyn bereiddlais, ei thannau fu'n dŷn,
Sydd heddyw'n grogedig ar helyg y glyn:
Eich Temel odidog na welwyd mo'i hiail,
Bwystfilod y maesydd a bawr ar ei sail.

Pêr Ganaan nefolwawr, fel haulwen dan gudd,
Yn drigfan anialwedd i'r Tyrciaid[/] y sydd:
Gwlad hoffai angylion ymweled â hi,
Yn annedd barbariaid—heb fraint ac heb fri.

Ti, Fynydd, a glywaist hoff bregeth Mab Duw,
Ti, Hermon, o'it unwaith mor hyfryd dy liw,
Eich dau y'ch yn gostwng eich pennau i'r llawr
Wrth gofio'r hen ddyddiau a'r dyddiau sy 'nawr.

---

/ Crefydd y Tyrciaid yw Mahometaniaeth. Fel eu gau Brophwyd, yr hwn a sylfaenodd ei grefydd trwy ryfel, twyll, a chreulonedd, felly hwythau ydynt lwyr ymddifaid o deimladau dynoliaeth. Pwy all feddwl am ysgelerder eu hymddygiad yn y rhyfel diweddar rhyngddynt â'r Groegiaid, heb deimlo dolur wrth ystyried mai dynion yw y fath greaduriaid. Erchyll yw hanes eu barbareiddwaith bwystfilaidd yn Ynys Scio, yn y flwyddyn 1822. Halogid gwragedd o flaen llygaid eu gwyr, a merched yng ngwydd eu rhieni,—ac yna trywanid hwynt â'r cleddyf!—y plentyn sugno, yng nghol ei fam,—yr hen-wr egwan, methedig—pob oedran—pob gradd, a lofruddid, heb wahaniaeth ac heb drugaredd! Temlau ac allorau Duw a roddid i'r fflamiau, a'u gweinidogion hybarch, llonydd, a diniweid, a leddid heb deimlad ac heb dosturi!! Yng ngwlad y Twrc, y ffordd o gospi dynion am droi yn ol, yr ail waith, i fod yn Gristionogion wedi unwaith arddel crefydd Mahomet, yw eu rhostio'n fyw, neu eu taflu o ben muriau y trefydd i ddisgyn ar fachau blaenllym a osodir i'w derbyn; wrth ba rai yr hongianant weithiau dros ddyddiau mewn poen erchyll cyn cael marw!!

Och! gwaedgwn uffernawl a hogant eu cledd
Y man y bu'r Iesu ei hun yn hau hedd:
Mae Sïon yn wylo—mae Carmel yn brudd
Mewn henwisg o alar yn disgwyl ail ddydd.

O Israel, gan addef, addefwch eich bai,
Fel gynt mewn sachlïain at Dduw, gan nesâu:
Y mae ei drugaredd mor helaeth â'r nef,—
Duw Abra'm, Duw Isaac, Duw Jacob yw Ef.

Bydd Enoch, Elias, a Lot, a mawr lu
O'r hen ufuddolion o'ch plaid yn rhoi cri:
Fe'ch cymmer, ond addef eich ffyrdd fu'n rhy
ffol,
A chredu'n yr Iesu, i'w nawdd etto'n 'nol.

Ac yna'r anialwch a ddyrchaif y gân,
Daw Duw ichwi'n Llywydd fel buodd o'r bla'n;
A dwg eich tylwythau ar wasgar sy 'mhell
I'r wlad oedd *dda*[m] gynneu ond 'nawr fydd fil
gwell.

O olwg gynhyrfiol! ynghŷd gwel'd eich d'od
O Ewrop ac Affrig—pob man îs y rhod;
Bryn Sïon a neidia—y ddaear fydd lon,
Ac uwch fydd Hosanna'n y nef yr awr hon.

---

*m* Canaan a elwir yn yr Ysgrythur yn "wlad *dda*, gwlad afonydd dyfroedd," gwêl Deut. viii. 7.

Daw pennau'r mynyddoedd uchelfrig yn awr,
Fel doldir y dyffryn yn wyrddlas eu gwawr,—
Y lle rhwng mieri a drain nid ai troed,
Ceir gweled afalau ar gangau pêr goed.

O ddydd gwynfydedig! daw'n heddwch trwy'r
byd,
Y blaidd[n] a'r oen gwaraidd a borant ynghŷd:
Y seirph[o] 'nawr a daflant eu gwenwyn i ffwrdd,--
A'u cefnau cragennog, heb niweid ceir cwrdd.

Wylofain[p] na dagrau byth mwyach ni fydd,—
Yr haulwen yn ofer ei llewyrch a rydd,—
Yr Arglwydd ei hunan oleua i'r wlad,
Ar dalcen ei feibion bydd enw'u Duw mâd.

O orsedd Jehofa a'r Oen, yn lwys hardd,
Glân ddyfroedd grisialwawr yn afon a dardd;
A phren pêr y bywyd ei ffrwythau rhy i ma's,
Bob mis yn gwahanu mewn rhyw ac mewn blas.

---

n Y blaidd a'r oen a borant ynghyd, y llew fel ych a bawr wellt, &c. Esay lxv. 25.

o A'r plentyn sugno a chwery wrth dwll yr asp. Esay xi. 8.

p Ac fe sych Duw ymaith pob deigr oddiwrth eu llygaid hwynt; a marwolaeth ni bydd mwyach, na thristwch, na llefain, na phoen ni bydd mwyach: ac ni bydd nos yno; ac nid rhaid iddynt wrth ganwyll, na goleuni haul; oblegid y mae'r Arglwydd Dduw yn goleuo iddynt, &c., gwêl Dat. xxi. 4, a xxii. 5.

# ENLLIB.

Ellylles lygadgoch! i b'le mae dy daith
Yr awron i osod dy wenwyn ar waith?
Trugaredd anfono 'i hangylion o'th fla'n
I weyd fod y dalaeth yn myned ar dân.

Y ddager ddaufiniog, wrth d' ystlys y'nghrôg,
Er d' ymgais i'w chuddio, a welaf trwy'th glôg;
Duw'n gymmorth i'r adyn raid odde 'n ei fron,
Heb wybod pwy'i brathodd, effeithiau hyll hon.

Fwystfiles uffernol! âi'n hollol ddi lun,
A hylwyr ddiagwedd, pan fynnot dy hun:
Pan elir i'th ddala, dy hyllgorph a droi
Yn fil o ronynau, nas gellir grynhoi.

Y llofrudd, â'i ddwylaw yn gochion i gyd,
Nid hagrach ei olwg, nid casach i'n byd,
Nâ thi, Etifeddes hen deyrnas y Fall,
Sy'n gosod holl wynfyd y bywyd ar ball.

Rhy ofnus i ddangos dy wyneb di drefn,
Ti frathi 'r diniweid, pan attad ei gefn;—
I lawer dyn truan faint beraist o boen,
I bell ac i agos mor ddiddrwg â'r oen.

Yn gwaedu o'th glwyfau mae lliaws di ri',
(A ph le ceir un meddyg i'r brath a roi di?)
A thra dan d' archollion yn griddfan mae'r byd,
Ymguddi mewn t'wyllwch, â gwên ar dy bryd.

Ond gwên yw a ddysgaist, y Wiber lawn brad,
Yn eigion pwll uffern, gan ddiafol, dy dad;
Y wên oedd ar wyneb y sarph gyfrwys gynt,
I faglu'r hil ddynol, pan lwyddodd ei hynt.

Ym mantell y ddunos pan byddwyf yn nghudd
A 'mhen ar fy ngwely, 'nol hirwres y dydd,
Ef allai 'th fod, Enllib, ar droed yn rhoi clwy'
I'm heddwch, nad allaf ei wella byth mwy!

Hyfrydwch dy galon fileinig o hyd
Yw gyrru 'n aflawen yn ben-ben y byd;
Troi'r gân yn wylofain,—troi'r ddaear hardd hon
Yn unwedd a'r fagddu, lle sugnaist y fron.

Y lleidr sy'n ceisiaw yspeilio fy nghell,
Sy'n chwantu rhyw bethau wna'i gyflwr yn well;
Ond nid yw'r Enllibwr, wrth ddwyn fy ngair da,
Ar ennill, er cymaint i *mi* 'r niweid wna.

Difâodd, ar unwaith, â'i galon yn ddur,
Fy ngobaith dan flinder, a chwerwder a chur,
Heb gael am ei drafferth, was diafol, dost ddyn,
Ond boddio'i hyll dymmer satanaidd ei hun.

Ti, ddyn, a lân luniwyd ar ddelw hardd Duw,
A gaiff anllad Enllib dy serch, rho im' glyw;
Tra'th obaith i gyrraedd y wlad lle mae hedd
Yn gwneyd i'w thrigolion drag'wyddol lawn
wledd?

Mae'r anian sydd yno i Enllib mor groes
A gwawl i dywyllwch,—llid yno nid oes;
A'r gair digyfnewid sy'n gwirio na thrig
O fewn ei hardaloedd un fron a ddeil ddig.

---

## MAWL I DDUW

### AM DRUGARHAU.

Duw, fel afon y dylifa
Dy fendithion, rhoddion rhwydda',
I dy ddeiliaid, waith dy ddwylo,
Ar y tir sydd yma'n tario.

Y mae'n perthyn am ein porthiant
Iti felus gerdd o foliant;
Mae in' achos am ein hiechyd
Foli Duw, a'i ofal diwyd.

Ar ein dwylo nid oes daliad,
Duw Ior goreu, am dy gariad;

Boed yn lân y gân o'n genau
Yn dy byrth yn iawn aberthau.

Dad yr uniawn, dy dirionwch
Etto welom, er tawelwch,
Ar ein taith trwy fywyd anghall
O waelderau, i wlad arall.

Neu os rhaid i ni fydd rhodio
Llwybrau gofid, par in' gofio
Yr wialen pwy reola,
Er daioni, pan bo'i dynna',

Oll o'n dyddiau pan diweddant,
Fry i gaerau, mannau'r mwyniant,
Cymmer ni yn iach a llawen,
Duw'n da awdwr, dan dy aden.

---

## BRO MARWOLAETH.

RHAID im' adael holl hyfrydwch
  Daear deg ar fyr o bryd,—
Rhaid i'm llygaid gau'n dragywydd,—
  Rhaid i'r babell gwympo i gyd,—
Rhaid wynebu bro marwolaeth,
  Lle o feibion byd ni ddaw
Un i hwylio fy ngherddediad,
  Gan ymaflyd yn fy llaw:

Lle na bydd o'm ceraint ffyddlon
  Un i'm tywys ar yr iawn,
Nes sirioli fy wynebpryd
  A diddanwch da ei ddawn;
Lle nad all yr hyn a gesglais
  O drysorau'r ddaear hon
Brynu dim yn feddyginiaeth,
  Os anhwylus fydd fy mron:

Bro raid imi dramwy'n unig,
  Heb gyfeillach mam na thad,
A roddasent, pe'n eu gallu,
  Im' gynnorthwy 'n rhwydd a rhad;
Bro na chaf o'i hyll ddiffeithwch
  A'i hanialwch dd'od yn ol,
I ail gyrhaedd dim fo'n eisiau
  A anghofiais yma'n ffol.

Bro marwolaeth! dyffryn cysgod
  Angau oerllyd, du ei wedd!
Ar y testun wrth fyfyrio
  Difrifoldeb mawr a'm medd:
Bro yw hon heb un goleuni
  Trwy ei holl ehangder maith!
Bro fu'n arswyd edrych arni
  I'r pererin lawer gwaith.

Iesu mawr! nid oes im' gysur
  Oni roddi di dy law;

Ond os ti a weni'n siriol
  Ni fydd arnaf ofn na braw:
Mi ddechreuaf ar fy siwrnai
  Wrth fy modd, gan godi'r gân,—
A than ganu âf yn llawen
  Trwy'r diffeithwch mawr ymla'n.

Yn tywynu ar fy llygaid
  Cyn bo hir bydd golau'r wlad,
Lle mae llewyrch digyffelyb
  A diddiwedd ei barhâd,—
Lle mae myrdd o aur-delynau
  Yn cydseinio peraidd fawl
Duw a'r Oen, mewn hyfryd hwyldeb
  A gwresogrwydd pur di-dawl.

---

## CYFIEITHAD.

Anghrediniaeth, cau dy enau,
  Yma gorwedd yn y llawr
Lwch tri baban; dywed imi,
  Ai cadwedig ŷnt yn awr?

Os trwy bechod mae marwolaeth,
  Hwy bechasant,—maent mewn bedd;
Os trwy fuchedd dda ceir nefoedd,
  Hwy nid allant fod mewn hedd.

Reswm, O mor wanned ydwyt,—
  Edrych i ddatguddiad Duw,—
Pechodd Adda, buont feirw,—
  Crist oddefodd,—maent yn fyw.

---

## CRISTIONOGAETH.

Gain dirion gennadwri
Y nef i'n daearen ni;
Arbennig, fawryddig rodd
Deraf erioed a yrrodd
Duw i ddyn, er da ddeunydd,
Yn brawf cariad rhad a rhydd:
Dysgwn, iawn barchwn dy bur
Rywioglan eiriau eglur:
Gyrraist ar ffo (da'r tro) 'r trwch
A dallaf dew dywyllwch,—
A dygaist, mewn modd digaeth,
I wael iawn fyd lawen faeth.

  I'n cur yn oer ddyffryn cau
Du ingus gysgod angau
Gerwin, yr o'ym yn gorwedd,
Yn byw fel yn eigion bedd;
Ond ysplennydd ddydd a ddaeth
A gwenau meddyg'niaeth.

O! Grefydd oleurydd lân,
Hynaws yn oll o'i hanian,
Yn melysu aml loesion
A chlwyfau a briwiau bron,—
Esmwyth ei hiau, geiriau gwir,
Ein Ior os ydyw'n eirwir,
A'i baich yn ysgafn y bydd
I bob enaid byw beunydd.
Ei llafar hygar yw hedd
Trwy helynt o wâr haeledd,
A gwiwrydd faddeugarwch
Rhwng meibion llymion y llwch,—
A chariad yn llad a llwydd
Dibrin, yn nodded ebrwydd;
Gwylied, a phuro'r galon,
Dien fryd, a dwyn y fron
I deimlad o rad yr Iôn,
A'i ddaioni i ddynion;
Yn dirion gwneud i arall
Yn llwyr a fynnem i'r llall
Yn uniawn wneud i ninnau,—
Wych a phur ddeddf i'w choffâu:
Yn deg Crist'nogaeth a'n dysg,
Yn hyddoeth iawn ei haddysg,
O gywir frwd hawddgar fron
I garu, nid y gwirion
Yn unig, ond ein hanwar
Elynion yn wiwlon wâr;
Rhoi elusen, heb sèn sur,
I eiddilwas dan ddolur,

Gan gredu'n rhwyddgu mai'r hyn
I'w raid a rown i'r adyn
Sy 'nghadw'n iawn gyda llawn llôg
Yn llaw yr Hollalluog;
Cofio gweithredu'r cyfan
I glod y Jehofa glân,
Fel yn ei ŵydd,—o flaen neb,
I Dduw Iôn rhoi boddineb,
Fel Arglwydd yr Arglwyddi,
Yr hwn a fedd, ryfedd Ri,
Y gallu'n rhwydd-deg ollol
I droi'r cas ddiffeithwas ffol
I boen echrydus di baid,
Yn ffau gwŷn, gorph ac enaid!

Trwy Grist'nogaeth y daeth dydd
O wiw lanaf lawenydd,
Yn hyspysiad mad am oes
Byd arall, bywyd eirioes.

Wele Iesu'n hwyluswych,
Dad y nerth, yn d'od o nych
Y bedd, er boddloni byd
Y gwawria gwlad uwch gweryd,—
Gwlad hyfryd o glyd hoywfraint,
Gwlad y serch, golud y saint:
O gysur clau i'r frau fron!
Crist anwyl! ceraist weinion
Blant rhydrwch y llwch a'r llaid,
Mal finnau;—mawl ef f' enaid!

Yma llefain, sain synwae,
Ochain i gyd, a chŵyn gwae,
A glywir,—mae gŵyl lawen
Yn bod uwch y rhôd,—gŵyl Rhên.
A gollaist mewn argyllaeth
Dy blentyn gan sydyn saeth
Yr angau dewr a'i ing du?
Cei ei wên ar dir canu,
Yn d' wyneb yn mad unaw
Ym mawl Iôn, â thôn na thaw.

Ail-fywyd! ddwys hyfryd sain,
Daw ar lef dewr wylofain;
Wrth y gair diwerth i gyd
Yw dâ erfawr daearfyd:
Bèr yw'n hoes, a'i bore'n haf,
A'i nawn gwyw'n wyniau gauaf!
I'w holaf awr mae'i helynt,
Fel chwyrn lif ar heinif hynt;
I'r bedd distaw y daw dyn,
I oer bydew'r abwydyn!
Ond *eil-oes* fwyn duwiolion
Cystuddiau a briwiau bron
Na chwynfan byth ni chenfydd;
Un trag'wyddawl ddidawl ddydd
Hafaidd, yw'r einioes hyfwyn,
Wyn iawn fyd, a'i wên yn fwyn:
Yn Salem nos o waywloes,
Na chur na dolur nid oes,

Na galar, nac ofn gelyn,
Nac angau a'i saethau syn.

Y mae'r wlad, er mor loywdeg,
I *ti*, am ymdrechiad teg,
Yn agored; cais gyrhaedd
Y dêr ŵyl,— O dyro waedd
Ar Geli, o wir galon,
I buro'th fryd,—briwia'th fron
A nadau dwys,—nôd y dyn
Trwy wirfodd yn taer erfyn.
Yn neddfau Duw, noddfa deg,
Cais rodio, cysur hoywdeg,—
A gwylia ar dy galon;
Iawn yw pwyll rhag hagrdwyll hon.
Holl bleserau gau a gwŷd
Na choledd,—mŷn ochelyd
Pob drwg nwyd yn ei rwydau
I dy gur fo am dy gau.
Gwêl harddwch y fflwch hoff wlad,
Firain, sydd er dy fwriad, —
Bröydd nefoedd, lleoedd llon,
A syw-wych furiau Sïon:
Yn hoyw dal, er hudoliaeth,
Dy fron yn bur rhag sur saeth;
Ymdrecha,—'mad â'r achwyn,
Ymdrech deg, gan gloi ceg cŵyn;
Trwy'r anialwch, trwy'r niwlen,
Gwêl wynfyd y byd uwch ben:

Ym mawr-ryd dyfroedd Mara,—
Yng ngwlad y trin a'r blin blâ,
Lle dros ffyrdd, drygffyrdd, mae drain
A mïeri'n ymarwain,
Cofia am dir y cyfoeth,
Am bêr gân y Gana'n goeth.

---

# IAWN OLWG

## AR DDYSGEIDIAETH.

Nid oes ddoethineb heb hyn,
Aml gofio mai ail gwyfyn
Yw y dyn mwyaf doniol,
A'i ffun mal eiddaw y ffol.
Horas, er maint oedd hoywrym
Ei ddeall llwyrgall a llym,
A gaid, yn ei olaf gell,
Bôr addysg, yn oer briddell.
Newton, a chwiliai natur,
Hynt glau, drwy ei pharthau'n ffur,
G'add annedd, yn niwedd nôd,
Mewn daear a mân dywod.
Johnson, a sôn ei synwyr
Yn llif dros y byd yn llwyr,
Hwn a ddaeth yn gaeth i'r gwys,—
I salgafn yr iselgwys.

Ninnau, lai'n golau, gwaelod
Y bedd yw diwedd ein bôd;
Er nad beius, foddus faeth,
Dwys godi mewn dysgeidiaeth,
Yr addysg *oreu* wiwddoeth,
I ddyn, yw myfyrio'n ddoeth
Ar bethau gwir a bythawl
Eu gwerth yn ardaloedd 'gwawl.

O b'ai 'n ol bob rhyw holiad,
Dysgwn hyn yn dasg i'n hiâd,
Golwg ar y mawr Geli,
Ein Nêr a'n Creawdydd ni,
Fal yn ddoeth uwch pawb doethion
A Llyw pob goleuni llon,—
Ei foddio, gan ufuddwych
Wneud ei gais, dda Ynad gwych,—
Byw'n isel, yn dawel dan
Law Lluniwr hael holl anian,
A'i gariad glwysfad yn glau
Fwyn nôd ei holl drefniadau,—
Cofio mai pwyll y ceufedd,
Lleiaf fan, yw oll a fedd
Y goludog a'i glodydd,
Foethus wr, mor faith y sydd;
Mai yna daw'r doetha' dyn
A ddaliodd yn hir ddilyn
Llwybr dysg,—pan ga holl bair dawn
Ei difa gan bry'r du-fawn.

# BEDD-ARGRAFFIADAU

---

I'r diweddar Barch. D. Williams, Ystradmeurig.

Williams i âddysg wiwlon—bri ydoedd,
A brawd gwych i'r tlodion;
Goleu'i ddeall, diwall dôn,
A goleu oedd ei galon.

---

I'r Rhaglaw (*Lieutenant*) Davies, Mab y Parchedig Mr. Davies, Ficer, Llanybyther.

Dros gylchoedd moroedd mawrion,—lew filwr,
Trafaeliodd yn ffyddlon;
Gorwedd yn awr mae'r gwron
Yn llwch oer dan y llech hon!

---

I'r diweddar T. Edwards (Twm o'r Nant).

[a]Yr Awen gu, eirian ei gwedd—gollodd
Ei gallu a'i mawredd;
Wyla fyth ar ael ei fedd,
Heb un gair, tra bo'n gorwedd.

---

[a] Gwelais yn rhyw lyfryn, er ys tro yn ol, yr enw "J. Parry" ar ol yr Englyn hwn; ond, bid da bid drwg, mi yw ei awdwr. Nid wyf yn sicr fy mod yma, nac ychwaith yn

Yr ENGLYN a etholwyd, pan ddymunwyd ar holl Feirdd Cymru i wneuthur Englyn priodol i'w osod ar fedd WILLIAM JONES (Bardd Môn), uniawn garwr iaith ei wlad.—1821.

BARDD MÔN mân bridd a'i medd;—yma o'r byd
Mewn gweryd mae'n gorwedd;
Iaith ei wlad oedd fyth ei wledd
A'i felus lawn orfoledd.

---

I'r Parch. D. DAVIS, o Gastell-Hywel, Ceredigion.

DWYS gododd mewn dysgeidiaeth,—do, lawer
Da lywydd gwybodaeth:
Llawenydd gaid a lluniaeth
O ddien ffrwd ei ddawn ffraeth.

O eigion calon, coledd—daioni
A dianaf rinwedd
Oedd ei fryd o hyd, yn hedd
Ei Naf, a gwir dangnefedd.

---

Awdl Farwnad y Parch. Eliezer Williams. lle gwelir yr englyn, yn ysgrifenu y llinell gyntaf o hono yn gymhwys yn yr un dull ag a wnaethum wrth ei anfon i mewn i Gymdeithas y Gwyneddigion yn Llundain, yn 1818, i'w farnu mewn perthynas i'w deilyngdod at yr achos i ba un y darperid ef. Y Gymdeithas a ddeisyfasai ar y Beirdd oll ysgrifenu ar yr achlysur, a dewiswyd hwn ynghyd âg un arall o waith rhyw Fardd arall.—*D.E.*

I John Williams (*Jack Post*), o Drefach, Llanwnen, Ceredigion.

Goleu oedd gwraidd ei galon—iach odiaeth;
Ni chadwai ddichellion:
Daionus hedd rhwng dynion
A geiriau serch garai Siôn.

---

## ERAILL AR AMRYWIOL ACHOSION.

---

Echdoe yr o'wn mewn nychdod,—yn eiddil,
Yn nydd fy mabandod;
Ddoe yn heinif ddyn hynod,
Heddyw mewn bedd yma'n bod.

---

Aros, y mwynlange irwedd,—i weled
Dy olaf gul annedd;
Y gwas bach, i gwys y bedd
Y deui yn y diwedd.

---

Nid yw einioes frau ond ennyd—fechan;
Afiachus yw bywyd:
Carwn, iawn geisiwn i gyd,
Breswylfa mewn bras eilfyd.

---

Neshau mae'r awr fawr pan fydd—y meirwon,
Sy'n eu muriau llonydd,
Yn dyfod, ar air Dofydd,
Filiynau o'u rhwymau'n rhydd.

GWEL drigfan baban glwys bach,—fu anwyl
I'r fynwes,—ond bellach
Nofiodd o wyniau afiach
A gwayw'r byd, yn Gerub iach.

---

YN briddyn daw dyn er doniau—uchel,
Er awchus gynneddfau;
Ymddalied y meddyliau
Ar well byd, ar arall bau.

---

O oerfyd aeth i wirfarn—y llon Dad,
Lle nad oes un rhagfarn
Yn uchelfai,—na chulfarn,—
Na dyn byth yn cael dwyn barn.

---

Mae gwedd oer y bedd yn rhybuddio—dyn
Mai daionus synio,
Yn lew ei fryd, am loyw fro,
Gwlad Duw Iôr, i glyd dario.

---

YN gorphwys o bwys y byd—yn dawel
O'r diwedd mae f' yspryd:
O'm ceufedd oer fe'm cyfyd
Fy Naf glân i'w fwyn nef glyd.

---

EINIOES nid yw ond ennyd,—a diddym
Yw dyddiau ein bywyd;
Ein hafiach daith sydd hefyd
I dŷ'r bedd wrth dd'od i'r byd.

O roddi hon mewn bedd, oer bant,
Mae tad a phlant yn wylo;
A chyda pharch a hiraeth gwir
Hi gaiff yn hir ei chofio.

---

# ENGLYNION.

**O ddiolchgarwch i Ioan Tegyd, am ddyfod o Rydychain i ymweled â'r Awdwr yng Ngheredigion, pan oedd yn glaf, 1822.**

Esgyn, fy Awen wisgi,—ar aden,
Cais oreudeg godi;
Fy hoffder tyner wyt ti,
Dan alar yn dwyn eli.

Galwaf arnat i deg eilio—diolch
I'r dewis lân Gymro,
Yn fwyn hardd ddaeth dan fy nho,
A'i siarad i'm cysuro.

Enw y gwr sy'n gofyn y gân—gennyt
Yn gynnar yw Ioan
Tegyd, wr glwysbryd a glân,
Prydyddol, pêr a diddan.

Mewn Gomeriaeth mae'n gymmarol—i lif
Rhyw loywfwyn nant bywiol,

A red yn gyflym radol,
A'i daith yn ffrwythloni dôl,—

Neu os mynnwch, i naws mwynaidd—dilwfr
Y delyn hyfrydaidd,
Wna'n llon y galon gulaidd,
Drwy roi tes a gwres i'w gwraidd.

Dewisgoeth ydyw dwysgan—cu adar,
Mewn coedwig neu berllan;
Ond etto 'mhell gwell y gân,
O weuad y bardd Ioan.

Cilia, eos, clyw Ioan—yn canu
Ei acenion mwynlan;
Ei iaith, ei araith eirian,
I'm bryd ail gyfyd y gân.

Mae emyn yn iaith ein mammau—fal gwin
Fal gwawr haul y borau,
Fal hygarwych fêl gorau,
Yn union deg i ni'n dau.

Dâ eraill yw'r byd a'i arian,—a swn
Disynwyr a ffwdan;
Ein dâ ninnau yw gwau'r gân,
A'i choledd yn iach wiwlan.

# ANNERCHIAD

**I'r Parch. R. Rees, M.A., ar ei ddyrchafiad i fod yn Broffesydd yr Iaith Gymraeg, yng Ngholeg Dewi Sant, Llanbedr.**

E'TH godwyd i'n hiaith gudeg—yn llywydd,
Er llawen fudd hardd-deg;
Dan dy aden dirfwen deg
Ei chynnydd fo'n ychwaneg.

Gwna reol yn ol manylwych—ddeunydd
O'th ddoniau enwogwych,
I gywreinio, gâr iawnwych,
Amrywiog we 'r Gymraeg wych.

A bydd i'r Awen, lle bo,—yn darian,
I derwych flaguro;
Goreu fraint i'n hawddgar fro
Ydyw hon i'w dihuno.

Iaith burlan, wiwlan, olau,—a ddysgot,
Yn ddwysgall dy lwybrau:
Onid rheol ffol cofflhâu
ANEURIN a hen eiriau?

Yn glau, pregethau pur goethion—llunier,
I'n llannau'n ddysg mwynlon,—
Yn olau a manylion,
Awchus eirf yn achos Iôn.

P

Dyddiau o fwynder diddan—a fyddo
    Iti 'n foddus gyfran:
  A hwyl i'th fawrswydd hoywlan,
  Dan ofal Iôr,—Duw nef lân.

---

## ENGLYNION

**Ar achos priodas David Jones, Yswain, o Gaerfyrddin, Arianydd, a Miss M. Williams, 1822.**

Boed dyddiau a bywyd dyddan—iddynt,
    Addas bâr goreulan;
  Gwynfyd, heb unrhyw gwynfan,
  Fore a hwyr, fo eu rhan.

Duw Ion iddynt boed yn Noddwr—(dewr Borth)
    Drwy y byd a'i ddwndwr;
  Ar eu taith, eu gorau Tŵr
  Caredig, fo'u Creawdwr.

O'm enaid mi ddymunaf—ddaioni
    I'ch', ddynion mwyneiddiaf;
  Boed eich byd o hyd yn haf
  Blodeuog, heb lwyd auaf.

Weis anwyl, boed rhosynau—'n ddiattal
    O ddeutu eich llwybrau,

A hoywbur hedd i barhau
I ben oes, heb un eisiau.

---

## ANNERCH I'R UNRHYW

**Ar farwolaeth ei Wraig, yr hon a fu farw yn ddisymmwth o'r parlys, Mai, 1829.**

Mi genais i'th annerch, do, unwaith o'r bla'n,
Pan gym'raist gymmares, i'th fynwes, wr glân;
Eich dau ich' dymunais fwyn hawddfyd a hedd,
A llwyddiant ac iechyd, hir fywyd, hwyr fedd.

Fel hyn y dymunodd dy ffrynd, Daniel Ddu,
Ond 'wyllys y Nefoedd fel arall a fu;
A phwy'n well nâ'r Arglwydd a drefna bob peth,
Yn ddoeth ei ddibenion, mewn cariad di feth:

Gwahanu heb rybudd oedd ergyd tra thrwm,
A roddodd dy yspryd o'i blegid yn blwm;
Ti gollaist un serchog, wnai 'n rhywiog ei rhan
I wneyd pawb yn happus,—un gofus o'r gwan.

Y llwybrau rodiasoch, a'ch llafar yn llon,
A ddygant ddwys gofion i friwio dy fron;
Yn unig y teimli, yng nghanol mawr lu,
Ac unig o fewn ac o amgylch dy dŷ.

Galara fel Cristion, dan drymder dy faich;
Rho'th oglud ar nerthol ddiysgog dda fraich;
Os hon a drwm dery, mae'i gallu'n ddi baid,
I gynnal a nerthu'n drugarog wrth raid.

Mae colli gwrthddrychau tra hoff hyn o fyd
Yn ddysg in' ochelyd eu prisio'n rhy ddrud;
A rhoddi ein hymgais am olud, mewn gwlad
Lle rhannir trysorau o fythol barhâd.

---

## ENGLYNION.

---

### ISELFRYDEDD.

Ofer cri, gweddi y gwas—a fyddo
O feddwl uchelgas:
Iôr a sylwa 'r iselwas,
A grŷn wrth orseddfa gras.

---

### I'R CYBYDD.

Ar drafael, pa fael fydd—i ddyn bychan
Ddwyn beichiau di-ddefnydd;
Doethach y gwna hen deithydd
Brynu y dorth bâr *un dydd.*

---

### I FIWSIG.

Gwna Miwsig, diddig, ein dyddiau—'n siriol,
Dan suraf flinderau;

Llu yn hwn sy'n llawenhâu,
Yn fywlon, yn nef olau.

---

## I BONT LLANFIHANGEL, AR DEIFI.

Gwel, deithiwr, y dwr oer du—o danat,
A'i donnau'n ymwylltu;
Rho glod am ganfod glân, gu
Gymmorth dros hwn i gammu.

Rhown glod i Alltyrodyn;—gwn hefyd,
Gwaun-Ifor sy'n derbyn
Da wirfaith fawl di-derfyn,
Am roi lle rhag morio llyn.

---

## I'R DIWRNOD GARW.

**Ebrill 29, 1824.**

Mae yr hin yn flin aflonydd,—y dwr
Ymdyrra ar ddolydd;
A'r pysgod, mewn syndod, sydd
Ar giniaw oll drwy'r gwaunydd.

---

## I SUL Y BLODAU, 1824,

**Pan oedd eira yn gorchuddio bryn a phant.**

Ein dae'ren â *blodau eira*—lanwyd,
Yleni, 'r dydd yna;
Yn deg cafwyd blodau da
Gwynfrig, ar gerrig cera'.

*Llygaid y dydd*, rydd roddion,—a welwyd
Yn oleu a chyson;
Yn fyrdd, o Gaerdydd, i Fôn,
Gwenent,—sef *cesair* gwynion.

---

## WRTH GYFARFOD A MENYW,

**Swydd yr hon, dros hir flynyddau, oedd cludo wyau, mewn cewyll i'r trefydd i'w gweithu.**

YMBOENI y mae 'i beunydd,—y gauaf,
Ag wyau i'r trefydd;
I honna ei bara bydd
Drwy gawell yn dragywydd.

---

## CYFARCHIAD Y BEIRDD,

**A wnaed yn ddifyfyr, wrth waith DANIEL DDU a IOAN TEGYD, yn cyfarfod yn ddisymmwth ym mhentref y Cribin, Ceredigion, D. Ddu oedd yn barod i feddwl mai o'r Bala yr oedd Tegyd yn teithio, am ei fod yn gwybod fod rhieni Tegyd yn byw yno.**

DANIEL DDU.

YN gry'deg mi a greda'—taw agwedd
TEGYD hoff sydd yma:
Daeth y gwr, brydyddwr da,
Ar ebolyn o'r Bala.

ATTEB TEGYD.

Ar ebolyn o'r Bala—y daethum,
Fardd dethol, hyd yma:
Y nos Caerfyrddin a wna',
Eresfardd, fy arosfa.

# "HIGHLAND MARY."

Cyfieithad o waith ROBERT BURNS, Prydydd o'r Alban (Scotland).

**Testun y Gân oedd fel y canlyn.—Burns oedd wedi bod yn ymgyfeillachu â Mary ei gariad ryw noswaith dan y coed, ac yr oeddynt dan yr ammod o ymbriodi y tro nesaf iddynt gyfarfod ; ond ei anwylyd a gymmerodd anwyd ar ei ffordd adref, a aeth mewn twymyn, ac a fu farw, cyn i Burns, druan ! ei gweled yn fyw byth drachefn : a than ei deimladau cyffrous a galarus fe ganodd y Gerdd hon,—cerdd a fydd byw nes bo i holl dyrau dawn syrthio i lyngclyn anghof tragywyddol.**

CHWI fryniau glwys a choed o gylch
  Hoff Gastell glân Montgom'ri,
Yn hardd bo'ch gwawr, yn wyrdd bo'ch dail,
  Mewn glendid yn rhagori ;
Byth yno 'nghynta' gweler haf,
  Ac yno'n ola'n gwenu,
Can's yno'r ymadewais i
  A'm hanwyl, anwyl Fari.

**Y SAESONAEG.**

**YE banks and braes and streams around**
  **The Castle o' Montgomery,**
**Green be your woods and fair your flowers,**
  **Your waters never drumlie !**
**The summer first unfold her robes**
  **And there the longest tarry,**
**For there I took the last fareweel**
  **O' my sweet Highland Mary.**

Mor hardd oedd clôg y fedwen las,
  A blodau'r drain mor wynion,
Pan dan eu cudd y gwasgwn i
  F' angyles at fy nghalon ;—
Yr oriau'n bêr aent dros y bardd,
  A'r un ag oedd e'n hoffi,—
Can's hoff i mi fel bywyd oedd
  Fy anwyl, anwyl Fari.

Trwy lawer llŵ, a'n breichiau 'nghlo,
  Bu dyner ein gwahaniad ;
Gan addunedu mynych gwrdd
  Torrasom ein cofleidiad ;—
Ond O ! rew angeu, deifio wnaeth
  Fy rhosyn hardd—fy lili ;
Gwyrdd yw'r dywarchen, oer yw'r clai
  Sy'n cloi fy anwyl Fari.

How sweetly bloom'd the gray green birch,
  How rich the hawthorn's blossom,
As underneath their fragrant shade
  I clasped her to my bosom ;
The golden hours on angel wings
  Flew o'er me and my dearie ;
For dear to me as light and life
  Was my sweet Highland Mary.

Wi' many a vow and soft embrace
  Our parting was full tender,
And pledging oft to meet again
  We tore ourselves asunder ;
But O ! fell death's untimely frost
  That nipp'd my flower so early !
Now green's the sod and cold's the clay
  That wraps my Highland Mary.

O! gwelw yw'r gwefusau pêr
  Mor swynol gawn gusanu;
A chwedi caead arnynt byth
  Mae'r llygaid oedd mor llongu;
Mae'n liwch a lludw'r galon lân
  Mor dyner fu'n fy ngharu,—
Ond yn fy nghof a'm serch caiff fyw
  Fy anwyl, anwyl Fari.

O! pale, pale now those rosy lips
  I oft have kiss'd so fondly,
And clos'd for e'er the sparkling glance
  That dwelt on me so kindly;
And mouldering now in silent dust
  That heart, that lov'd me dearly!
But still within my bosom's care
  Shall live my Highland Mary.

---

## YR ENETH FFYDDLON.

Ar dorriad y wawrddydd ar foreu o Fai,
A'r adar yn neidio trwy'r coedydd yn chwai,
Wrth deithio trwy fynwent, wrth Eglwys rhyw
    blwy'
Mewn ardal o Gymru—'n ei enwi nid wy',—

Mi welwn lân eneth mewn gwisgoedd yn wych,
Yn ail i angyles mewn agwedd a drych,
Yn fuain ei chamrau yn nesu o draw,
A blodau amryliw yn llenwi ei llaw.

Ymguddiais o'r golwg i wybod beth oedd
Ei hamcan a'i neges mewn lle mor angh'oedd,
Heb neb yn gydymaith—mor foreu o'r dydd—
Gan adael cymdeithas am fangre mor brudd.

Yn fuan y cyrchai at feddrod wrth fin
Prif lwybyr y fynwent, a syrthiai ar ei glin;
A'r llysiau a blannai yn lluniaidd â'i llaw,
A'i golwg yn gymmysg o fwynder a braw.

Y dagrau a sychai o'i deurudd, fun lân,
A'i napcyn ag ydoedd o liw'r eira mân,—
A chlywn ei lleferydd, i'm meddwl i'n syn,
Yn treiddio trwy'r awel yn rhywfodd fel hyn,

Fan hon y mae'n gorwedd yn dawel yr un
A garwn mor anwyl â'm henaid fy hun:
Ond angau a'i dygodd i'm galar di daw,
Yr amser yr oeddym ar uno'n dwy law.

Fan hon y mae'n gorphwys o swn byd a'i si,
Y cyfan îs heulwen sydd anwyl i mi;
Clau dyfwch, heirdd flodau, yn fwyn ar ei fedd,
Er methu mewn glendid ddynwared ei wedd.

C'add gennyf anrhegion yn fwy wrth ei fodd,—
Fy llaw yn addewid,—fy ngwallt iddo'n rhodd,
A hollol gydsyniad i gym'ryd fy rhan,
O'i wynfyd neu'i adfyd—yn wych neu yn wan.

Wrth eistedd fan yma mor foddus yr wyf,
Y man lle mae'm meddwl b'le bynnag y b'wyf,—
Pe teithiwn y ddaear o'i hamgylch i gyd,
Fan hon b'ai canolbwynt gwastadol fy mryd.

Er nad wyt o'r ddaear yn gwedyd un gair—
Er nad wyt yn gwenu fel gwenaist ar Mair—
Mae etto, f' anwylyd, yn gysur i mi
Gael eistedd am ennyd yn agos i ti.

Dy lygaid mwyn siriol fy meddwl a wêl,
A chofiaf dy eiriau mor beraidd â'r mêl,—
Dy fedd a gofleidiaf pe'n canfod b'ai'r byd,
A mynnaf ein gweled fel gynt etto'n nghŷd.

---

## ANNERCH YMADAWOL CARWR.

Rho 'th law i ymadael, y fwynaf lân ferch,
Un arall, mi glywais, a ddygodd dy serch ;
Fy yspryd a wywodd, e giliodd y gân,
A ffynnon fy nghysur a sychodd yn lân.

Mi gollais o ddagrau o'th achos di, Gwen,
Do, nifer y mân-wallt sy'n harddu dy ben ;
Mi 'th gerais yn ffyddlon, mae'r nefoedd yn dyst,
Mai gwir ydyw'r geiriau a glywodd dy glust.

Llwyr gredaf na charodd un mab fel myfi,—
Yn hanner fy hunan ystyriwn dydi:
Llawenydd a'm llyngcai wrth weled dy wedd,
Bu'n wynfyd Paradwys mwynhâd o dy hedd.

Yr oeddwn eiddigus o awel y nen,
A glywn yn y llwyni 'n chwibanu uwch ben,
Ei bod, wrth ymdeithio, 'n cael cusan dy fin,
Sy'n berach nâ'r diliau,—a mi yma'n flin.

Fy unig hyfrydwch oedd rhyngu dy fodd,
Heb gynnyg i arall na chusan na rhodd,—
Ond cabledd a goelit yn hytrach na'r gwir
Yr hwn fydd mor olau â'r hafddydd cyn hir.

Bydd iach, fy anwylyd,—pob llwyddiant mwyn
llon,
Ddilyno dy lwybrau; boed heddwch i'th fron:
Pob peth dymuniadol fo'th gyfran o hyd,
I mi, wael bererin, beth bynnag fo'r byd.

Pe byddai genethod mor amled â'r dail,
A rhei'ny mewn glendid i *Helen* yn ail,
Un arall ni cheisiaf i noddi fy nyth;
Fy nghalon yr unman a erys byth, byth.

Mi gerddaf i'r goedwig; mae 'deryn bach draw
A gollodd ei gydmar yn wylo'n ddi daw,—
Gwnaf hwn imi'n gyfaill, galarwn ynghŷd,
E ddarfu pob rhinwedd a fedd yr holl fyd.

## NA AD FI'N ANGHO'.

Na âd fi'n angho', un wyf fi
Mewn serch fel craig yn beiddio'r lli':
Bu'n curo arnaf lawer tòn,
Ond byth yr un yw'r fynwes hon.

Na âd fi'n angho'; cofia hynt
Ein rhodiad dedwydd, hyfryd gynt,—
Pan hedai'n serch mewn modd di ball
Fel saeth o lygad un i'r llall.

Na âd fi'n angho' pan bo'r gwŷdd
Yn deilio'r haf; llawn bryd a fydd
It' gofio'n hymddiddanion mwyn
Brydnawnau têg dan gysgod llwyn.

Na âd fi'n angho'; nid yw'n hardd,
Pan rodiot hyfryd lwybrau gardd
Neu rhai o'r adar ar y berth
A wedant nad yw'th air o werth.

Na âd fi'n angho' pan bo'r wledd
A'r lawen gân yn lloni'th wedd;
Mi fuais innau pan y cawn
Gyfeillach *un* yn llawen iawn.

Na âd fi'n angho' unrhyw bryd
Y b'ot ymhell o swn y byd:

Ar awr o'r fath, mewn mwynder maith,
Bu siarad rhyngom lawer gwaith.

Ar ganol nos os ar ddihûn,
Na âd fi'n angho'; 'n wir mae un
Yn debyg iawn, dan oeraidd gri,
Yr amser hwn o'th gofio di.

Na âd yn angho' 'r olaf dro
Bu ein cyfarfod: dwys oedd o:
Mae'r ymddiddanion oll i gyd
I mi ar gof, yn llenwi 'mryd.

E ffrydiai'm dagrau; siglai'm bron
Fel llong mewn tymhestl ar y dòn:
Os gelli'm troi o'th gof, nid syn
Fydd unrhyw newid wedi hyn.

Na âd fi'n angho', os yn gas
Bydd neb i ti ar ddaear las;—
O! nid fel hyn, iawn wyddost ti,
Bu ein cyfarfod olaf ni.

---

## WILLIAM A MARI.

Blodau'r merched ydoedd Mari
Trwy'r holl wlad o amgylch iddi—
Etifeddes tyddyn llydan
Bïai'i hanwyl dad ei hunan.

Llawer oedd yn ceisio'i chariad
A'i hoff wên mewn ffair a marchnad,
Ar bob cyfle ac achosion
Am ei serch 'r oedd mawr ymryson.

Ond er bod i bawb yn hawddgar,
Mari oedd yn ferch fyfyrgar,—
A deallai mai'i goludon
Ydoedd pennaf gais y meibion.

William ydoedd fab i ffermwr,
Nid y gorau yn ei gyflwr,
Ond y tylwyth oedd mewn helaeth
Glod a pharch trwy'r holl gym'dogaeth.

William oedd o lawen galon,—
Un yn ddig wrth bob ymryson;
Un mewn glendid yn rhagori,—
Merch nid allai beidio'i hoffi.

Sut y buodd dechreu siarad
Rhyngddynt hwy am bethau cariad
Mi ni wn,—ond hawdd heb ammeu
Lle bo serch y daw i'r goleu.

Hir y buont yn cyfarfod
Heb i neb o'r byd adnabod,
Ac erioed ni buodd purach
Ymddiddanion a chyfeillach.

Tad y ferch yn awr a glybu,
Ac mewn llid dechreuai wgu,
Gan ddywedyd gwae a fyddai
Os â William etto 'mwelai.

Hi ddywedai, 'Nhad anwylaf,
Parch i chwi sydd beth teilyngaf;
Ond mae'm serch dan glo ynghadw,
Byth yn ol nid alla' 'i alw.

Ar fy ngliniau 'r wyf yn syrthio
'Nawr o'ch blaen, eich hedd i geisio;
Ac yn addo gwneud yn ufudd
Byth fy rhan i'ch gwneud yn ddedwydd.

Os fy serch a ro'is o'm gwirfodd,
Teilwng yw y mab a'i cafodd,—
Na omeddwch gais eich unig
Ferch, fel hyn sy'n ostyngedig.

Tra fo byw fy mam a chwithau
Mi ni cheisiaf eich meddiannau,
Ond yr hyn a fynnoch roddi
O'ch ewyllys a'ch daioni.

Llidiai'i thad yn fwy fwy etto,
Nes i'w dyner ferch ymrwymo
Na ymwelai byth ond hynny
A'r un oedd mor anwyl ganddi.

Fe ddanfonai 'i thad yn union
At ei chariad glau gennadon,
I fynegi penderfyniad
Mari 'i ferch, a'r holl amgylchiad.

Wedi rhoi'r adduned chwerw
Nad oedd modd yn ol i'w galw,
Gyrru geisiai Mari'n fanwl
William mwyn o'i chof a'i meddwl.

Llwyr 'r un peth yw disgwyl canfod
Llanw'r môr yn methu dyfod,
Ag yw disgwyl byth anghofio
'R un ag aeth â'r galon ganddo.

Mewn cymdeithas lawen ddigri'
Un difyrwch na chai Mari;
T'wyllwch nos oedd dros ei hyspryd
Am na welai 'i mwyn anwylyd.

Mewn rhyw gilfach wrthi 'i hunan
Mynnai fod, yn llwyr anniddan;
Aeth ei haul dan ddu gymmylau,
Ffodd y gân,—a ffodd ei gwenau.

Nid oedd blas ar unrhyw fwydydd,
Gwelid hi yn gwywo beunydd,
Fel diflanna blodau'r lili
Pan bo'r haul yn para'n llosgi.

Aeth yn glaf,—ond ni chyffesai
Wrth un dyn yr hyn a deimlai;
Rhoisai'r byd am gaffael siarad
Hanner awr â'i hanwyl gariad.

Er yr awr y clybu William
Am adduned Mari ddinam,
Ni chynnygodd droi 'i hamcanion,
Er ei fod ar dorri 'i galon.

Gwyddai ef mai'n bur ei bwriad
Y gwnaeth Mari'r penderfyniad,
Sef i foddio'i hoff rieni
Am y byd ni fynnai siomi.

Tristwch oedd yn toi ei ddwyfron,
Distaw 'r aeth ei hoff bennillion;—
A'r holl adar a ryfeddent
Beth a ddaeth o'r gân a glyw'sent.

Ei ddwy rudd, a'u lliw o'r iacha',
'Nawr a drodd i liw yr eira:
Tebyg oedd i lun neu gysgod,—
Un o gant a all'sai 'i 'nabod.

Yn y nos wrth oleu'r lleuad,
Codi wnai dan boenau irad;
Ac fel hyn y caid e'n cwyno, —
Torriad calon oedd ei wrando:

"Mi a aethwn hwnt i Affrig
Am ddeng mlynedd faith yn ddiddig
Ar gais Mari, mewn cytundeb
O gael wedi'n byw mewn undeb.

Derfydd rhew a derfydd gauaf,
Fe ddaw'r haf a'i wên dirionaf,—
Ond ni ddaw un pêr ddiddanwch
Byth i mi sy'n llawn o dristwch.

Mari fwyn, os byd sy'n rhwystro
Ini roddi 'nghŷd ein dwylo,
Etto 'nghŷd mae'n pur galonau,—
Groeso, groeso iti, angau."

Clafach, glafach aeth y ddeuddyn,—
Ar eu gyrfa'n glau daeth terfyn:
Yn y bedd maent heddyw'n dawel—
Enw'r man gaiff fod yn ddirgel.

Dyma gariad oedd yn haeddu
Gwobrwy gwell, nid ellir gwadu:
Anwyl bâr' e gollir dagrau
O dosturi uwch eich beddau.

William garai Mari fwynlan
Yn fwy cryf nag ef ei hunan;
Hithau barchai ei rhieni
Dan y baich er gorfod soddi.

Rhoddi'n aberth eu bywydau
Wnaeth y ddau i bur feddyliau,—
Ond er cael eu llym gystuddio
Gall y nef eu llawn wobrwyo.

O! mewn cân na fyddwn gelfydd,—
Gwnawn i'ch henwau fyw'n dragywydd,
Ac mi wnawn i bob rhyw fynwes
Gyda theimlad gofio'ch hanes.

Aed dan ystyr pob rhieni
Hanes William hoff a Mari,
Cyn y gwnelont hyll ysgariad
Byth rhwng dau lle byddo cariad.

---

## CAN

## Y MAB MAETH A ELWIR CARIAD.

(Y Gân gyntaf a gyhoeddodd yr Awdwr).

Dos ymlaen, y glân dy ddeurudd,
At un sy'n *abal* i roi rhybudd;
Erglyw hanes Cariad gwrol,
Ddaeth o'i fagu 'n anorchfygol.

Ce's Fab Maeth, a elwir Cariad,
Gan ryw ferch o deg olygiad,

I roi porthiant iddo drosti,
Yn gymmwynas addas iddi.

Ac er mwyn y seren siriol,
Gwnes ei dderbyn yn fy nwygo'l,
Gan ei gynnal ef yn gynnes,
Hoff a manwl, yn fy mynwes.

Ar fy ngho'l yn benna' beunydd,
Rhwng pob lluniaeth a llawenydd,
Fe gynnyddodd yn un lliwus,
Ond yn awr mae imi 'n boenus.

Mae'r Mab Maeth yn un gwrthnysig
Ac anynad a gwenwynig,
Dwl a sarrug,—beth dâl siarad?
Ni thâl curo'n erbyn Cariad.

Un i flino, un aflonydd,
Un a boena f' enaid beunydd.—
Cred, un afrwydd, cryd i 'nwyfron,
Chwalu f' ais a gais yn gyson.

Y mae'n wir, â'i gas a'i gyndyn
Fwa 'nelog yn fy nilyn;
O'm du ingoedd b'le diangaf?
Och! i b'le o'm rhwydau 'r rhedaf?

Mae'r Mab Maeth yn ansefydlog,—
Fe a'm dwg i'r dolydd deiliog,

Ac oll yno, tan y llwyni,
Fe a'm gwnel i uchel ochi.

Myn ei ddangos ar ryw droion,—
Myn ei gelu 'm min y galon,—
Myn gael gwel'd y fenyw fwyniach,
A phan wêl, bydd saith creulonach.

Os gwêl neb yn beiddio d'wedyd
Gair neu ddau yng nghlust 'r un hyfryd,
Arnaf fi dïala 'n union,—
Bratha 'i golyn trwy y galon.

Pan yr own i 'n heini hynod,
Ar ryw hafaidd deg ddiwrnod,
Daeth i'm pen ryw ryfedd fwriad,
Sef myn'd i maes i guro Cariad.

A mawr fygwth ymarfogais,
Pastwn yn fy llaw gymmerais;
Ond ni theimlai hwn ergydion,—
Fe a chwalai giliau'r galon.

Yna, gwed'yn, rhoes i gadw
'R chwareu oll, gan sylwi'n salw,—
"Pan mae 'r rhyfel rhwng f' arenau,
Pa les im' yw darnio 'm dyrnau?"

'R wy'n dad maeth i'r mab creulona'
Fagwyd ar y ddaear yma;

Mil o weithiau 'r edifarais
Imi fagu'r mab a fegais.

A raid bellach byw dan gwmmwl.
Heb un gobaith mwyn i'm meddwl?
A oes etto ddim byth iti.
Galon oeraidd, ond galaru?

Attal, attal, oes mae etto
Haul go lawen yn goleuo;
Gad bob galar, fwynaidd galon,
Fynu cwyd o'r llwyd drallodion.

Y mae gwychaidd lân Rosgochyn
Etto'n effro mewn rhyw ddyffryn,
Sy ag eli at y galon
A wasgarwyd yn ysgyrion.

Dyna'r lle mae Dora dirion,
Dyna'r lle 'r wy' 'n troi 'ngolygon,
Dyna'r lle mae seren gwynfyd,
Dyna'r lle mae clwm fy mywyd.

Dyna'r lle mae mam addfwynder,
Dyna'r lle mae chwaer hynawsder,
Dyna'r lle caf wel'd y lili,
Ar lan dwr isel rhwng y d'rysi.

Y mae un all roi im' gysur,
Y mae un all wella 'nolur,

Sef y ferch a roddodd imi
Y Mab Maeth i gael ei fagu.

Os na thâl y fwynaidd fenyw
Imi, gwed'yn, am ei gadw,—
Oni rydd wobrwyad imi,
Rhaid i'm dwyfron dirion dorri.

---

## YR ACHOS FOD MENYW YN LANACH NA GWRRYW.

E LUNIWYD Adda, gynt, heb lai,
O ddyrys glai y ddae'ren;
Yn llwyd a brwnt e'i gwnaed o bridd,
Heb gymmal iddo'n gymmen.

A brych yw'r gwrryw fyth fel hyn,
A melyn a chymmalog,
A llwyn o eithin ar ei ên,
Islaw y talcen tolciog.

Ond Efa ddaeth yn hardd-deg iawn,
(Gan gael yn llawn ei llunio,)
Yn syw a da, o ais y dyn,
O'r priddyn, 'nol pureiddio.

Ac fyth y Fenyw'n deg a gawn,
A gwiwlan iawn e'i gwelir:
Ei dwy-ên glir sy'n denu gwlad
At hon, o gariad geirwir.

---

## FALENTIN.

Fe ddarfu'r gauaf creulon;
Tawelach yw'r awelon,—
A'r adar bach, gan fywiocâu,
Sy'n dechreu gwau caneüon.

Holl anian gain sy'n gwenu,
Gan nawsaidd ymgynesu;
Ac nid yw'n deilwng rhoddi sen
I minnau, Gwen, am ganu.

Wrth wel'd dy lun mor laned,
Pa fab all dewi, dywed?
O rho i lange, ar soddi i lawr,
O'i ddolur mawr ymwared,

Yn dewis y mae'r adar,
Yn awr, bob un ei gymmar,
I fyw mewn undeb eithaf llon,
Uwch pob argoelion galar.

Un, un ddewisaf finnau,
A hon wyt ti, lliw'r blodau;
Yn rheidiol les, o rho dy law,
I dorri'm braw a'm briwiau.

Yr eneth fwyn eirianaf,
Tydi yw'r lana' welaf;
Na âd, a mi mor wael fy nrych,
Fath bwn o oernych arnaf.

Rho'th law'n addewid immi,
Rho'th gusan i'm sirioli;
O galon rydd, yn glodydd glân,
Diderfyn gân cei genni.

Y mae dy wedd yn waddol,
Deg Wen, o werth digonol;
Uwch unrhyw bris yw'th lygaid pêr
Sydd fel y sêr yn siriol.

O! tro yn awr, tra'n iraidd,
I rwymyn cariad puraidd, —
Cawn fyw mewn tes, yn gynnes, Gwen,
A'n byd yn hufen hafaidd.

Mae'r gwanwyn ar egino,
Daw blodau'r haf i'w rhifo;

Anturia, Gwen, mae natur gain
Yn cymmell sain cyd-synio.

---

# MENYW.

MENYW fwyn yw gwaith perffeithiaf
Dwylo glân y Duw goruchaf;
Perl a harddwch creadigaeth,
Rhosyn byd yn ddiamheuaeth.

Y mae'n harddach, fil o weithiau,
Gwenau hon nâ gwawr y borau;
Holl brydferthwch hyfryd anian
Drig ym mron yn hon ei hunan.

Glwys y rôs a glwys y lili,
Glwys y gwanwyn glas yn gwenu;
Rhwng y blodau glwysach etto
Menyw deg mewn gardd yn rhodio.

Fel o ddwr mae'n llawn yr afon,
Llawn o deimlad yw ei dwyfron;
Cariad hon, yn ol sefydlu,
Awch y dur nid all ei dorri.

Llawn ei mynwes o dynerwch,
Llawn ei chalon o hawddgarwch:

Menyw fwyn! pwy all ryfeddu
Enaid dyn ei bod hi'n denu?

Mi a welais, yn ddigyffro,
Faes y gwaed a mil yn syrthio;
Ond ni welais ddagrau'n hongian
Ar rudd hon heb wylo f' hunan.

Gair o'i genau mewn serchogrwydd,
Ddiarfoga bob digllonrwydd;
Ar ei thafod y mae eli
Mawr ei rinwedd, mawr ei allu.

Hoff gan wr, pan fo'n trafaelu,
Gwrdd ar ffordd â chyfaill digri':
Milwaith hoffach, rhwydd in' addef,
Menyw fwyn i'w roeso adref.

Menyw serchog, lon mewn teulu,
Wna bob peth i ymsirioli;
Oll o gylch, ei llais caredig
Rydd fel Eden ardd fawledig.

Gwael y dyn sy'n rhodio daear,
Heb gael hon yn gymmwys gymmar;
Och! heb gael, yn wych ymgeledd,
Hon i'w uno ef â'i annedd.

Menyw fwyn! y byd, er cystal,
Hebot ti nid yw ond anial;

Heb dy lais i dorri loesau,
Heb dy gynghor, heb dy wenau.

Ti wyt leuad mewn tywyllfyd,
Seren hoff mewn nos o dristyd,—
Angor enaid cystuddiedig
Ar y garw fôr berwedig.

Diogelwch yn dy galon
Sydd i dderbyn pob meddylion;
Cyfaill ydwyt o'r ffyddlonaf
Uwch pob gwerth, O! Fenyw fwynaf.

---

## GWLAD FY NGENEDIGAETH.

**Pennillion a gyfansoddwyd yn Haf y Flwyddyn, 1819, pan oedd IOAN TEGID, Brawd awenyddol i'r Awdwr, yn bwriadu gadael *Gwlad ei enedigaeth*, a myned i ymsefydlu yn yr India Ddwyreiniol. Yr amcan oedd denu y Bardd godidog hwnnw i beidio ymadael â *Gwlad ei enedigaeth*, trwy ei ddarlunio fel yn cwynfan yn y modd canlynol, yn y fro estronawl honno.**

TRWM yw f' enaid, trwm yw f' yspryd,
Trom yw 'nghalon fach bob ennyd,
Gan ryw alar oer a hiraeth,
Am hen Wlad fy Ngenedigaeth.

Anwyl gwin, ac anwyl arian,
Anwyl haf, ac awyr fwynlan,—
Ond anwylach im' nag unpeth
Bryniau Gwlad fy Ngenedigaeth.

Hyfryd iawn yw gwel'd yr haulwen
Yn ymdorri draw o'r Dwyrain:
Etto gwell f'ai golwg eilwaith
Ar hen Wlad fy Ngenedigaeth.

Fel yr hŷdd am ddwr y dyffryn,
Fel yn ôl ei fam yr oenyn,
Cwynaf finnau'n fawr fy alaeth,
Am hen Wlad fy Ngenedigaeth.

Beth i mi yw mwyth ddanteithion?
Beth i mi yw maith oludon?
Beth y byd a'i holl arglwyddiaeth
Maes o Wlad fy Ngenedigaeth?

Pe bawn frenin ar yr India,
Neu drigolion holl Ewropa,
Dim i mi f'ai pob dyrchafiaeth,
Maes o Wlad fy Ngenedigaeth.

Ym mha le y mae'n ymsymmud
Hen gyfeillion mwyn fy i'engctyd?
B'le mae'n trigo pob anwyl-beth?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae'r tŷ, a ph'le mae'r aelwyd
Fu im' hygar, lle fy magwyd?
B'le mae ffynnon pob rhagoriaeth?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae'r ardd, a phle mae'r caeau,
Lle y buais gynt yn chwarau,
Heb na gofal na gwanobaith?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae'r llwybrau fu'm yn rodio,
Lawer gwaith dan beraidd byngcio,
Oll yn llawn o'r awenyddiaeth?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae'n byw'r genethod difyr,
Rai a fedrent garu'n gywir,
Heb adnabod twyll na gweniaith?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae'n byw yr *un* anwylaf
Ga's fy serch a'm cariad cyntaf?
B'le mae hon yn marw o hiraeth?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae'r man cyfeillgar hynny,
Lle mae pawb fel o'r un teulu,
Heb na chilwg nac ucheliaeth?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae'r hael a'r hwylus galon?
B'le mae bwyd yn rhad i estron?
B'le mae byw yn ôl naturiaeth?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae cynnal glân ddefodau,
Iawn a didwyll fy hen dadau?
B'le mae'n byw yr hen Gymreigiaith?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

B'le mae'r delyn bêr ei thannau?
B'le mae darllain mwyn gywyddau?
B'le mae'r Awen a'r Farddoniaeth?
O! yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

Crôg oedd telyn plant hen Sïon,
Ar y gwïail gynt yn Mab'lon,—
Mud y gân gan oeraidd hiraeth
Am hen Wlad eu Genedigaeth.

Meddai meibion Babilonia,
Rhowch in' ganiad, blant Judëa;
Ebent hwy, nid oes gerddoriaeth
Maes o Wlad ein Genedigaeth.

Llawer gwaith dywedaf finnau,
Awen, rho im' gân i'm genau;
Ond attebai, 'Does it' obaith
Maes o Wlad dy Enedigaeth.

Beth wna Bardd ar ddolydd India?
Beth wna Bardd o'i wlad anwyla'?
'R Awen fwyn ni chân beroriaeth
Maes o Wlad ei Genedigaeth.

Cwyno nos a dydd yn ddibaid,
Yma'r wyf ym mhlith estroniaid,—
Nid am aur na goruchafiaeth,
Ond am Wlad fy Ngenedigaeth.

Mynych af i ben y creigiau,
Tro'f fy ngolwg, gyda dagrau,
Dros y cefnfor garw diffaeth
Tua Gwlad fy Ngenedigaeth,—

Yna tyr yn friw fy nghalon,—
Gwel'd y môr a'i donnau mawrion,
Rhyngof fi yn gwneyd ysgariaeth
A hyfryd Wlad fy Ngenedigaeth.

Gwel'd y môr a'i donnau'n berwi,
Fel pe b'ai e'n ymhyfrydu,
Ei fod rhyngof fi âg odiaeth
Anwyl Wlad fy Ngenedigaeth.

O! na chawn adenydd c'lommen,
Hedwn dros y moroedd llydain,
I gael golwg ar gu helaeth
Fröydd Gwlad fy Ngenedigaeth.

Mi orweddwn yno'n dawel
Drwy fy oes, mewn caban isel;
Cyfoeth byd ni'm denai ymaith
O hen Wlad fy Ngenedigaeth.

---

# MY NATIVE LAND.

A Translation of "GWLAD FY NGENEDIGAETH," by MISS LYDIA JONES, St. Fagan's, near Cardiff.

MY soul is sad, my spirit fails,
And sickness in my heart prevails,
Whilst chill'd with grief, it mourns and wails
For my old Native Land.

Gold and wine have power to please,
And Summer's pure and gentle breeze,—
But ye are dearer far than these,
Hills of my Native Land.

Lovely to see the sun arise,
Breaking forth from eastern skies;
But oh! far lovelier in my eyes
Would be my Native Land.

As pants the hart for valley dew,
As bleats the lambkin for the ewe,
Thus I lament and long to view
My ancient Native Land.

What, what are delicacies, say,
And large possessions, what are they?
What the wide world and all its sway
Out of my Native Land?

O should I king of India be,
Might Europe to me bend the knee,
Such honors should be nought to me
Far from my Native Land.

In what delightful country strays
Each gentle friend of youthful days?
Where dwelleth all I love or praise?
O! in my Native Land.

Where are the fields and gardens fair
Where once I sported free as air,
Without despondency or care?
O! in my Native Land.

Where is each path and still retreat
Where I with song held converse sweet
With true poetic fire replete?
O! in my Native Land.

Where do the merry maidens move.
Who purely live and truly love—
Whose words do not deceitful prove?
O! in my Native Land.

And where on earth that friendly place,
Where each presents a brother's face,
Where frowns or anger ne'er debase?
O! 'tis my Native Land.

And O! where dwells that dearest one
My first affections fix'd upon,
Dying with grief that I am gone?
O! in my Native Land.

Where do they food to strangers give?
Where kindly, liberally relieve?
Where unsophisticated live?
O! in my Native Land.

Where are the guileless rites retain'd,
And customs of our sires maintain'd?
Where has the ancient Welsh remain'd?
O! in my Native Land.

Where is the harp of sweetest string?
Where are songs read in Bardic ring?
Genius and inspiration sing
Within my Native Land.

Once Zion's sons their harps unstrung,
On Babylonian willows hung,
And mute their songs—with sorrow wrung,
They mourn'd their Native Land.

Captives, the Babylonians cry,
Awake Judæan melody.—
There is no music they reply,
Out of our Native Land.

And thus when I in misery
Beseech my muse to visit me,
She echo's—there 's no hope for thee
Out of my Native Land.

A Bard how dull in Indian groves,
Distant from the Land he loves!
The muse to melody ne'er moves
Far from her Native Land.

Day and night I ceaseless groan
Among these Foreigners, alone;
Yet not for fame or gold I moan,
But for my Native Land.

Oft to the rocky heights I haste,
And gaze intent, while tears flow fast,
Over old ocean's troubled waste,
Towards my Native Land.

Then breaks my heart with grief to see
The mountain waves o'erspread the sea,
Which widely separates from me
My charming Native Land;

To see the boiling ocean near,
Whose waves as if they joy'd appear,
Rolling betwixt me and my dear
    Enchanting Native Land.

O had I wings! to cure my pain
I'd flee across the widening main,
To view the extensive vales again
    Of my dear Native Land.

There I would lay me down secure,
And cheerfully my wants endure:
Thy wealth of worlds could not allure
    Me from my Native Land.

---

## ATTEB TEGYD

I

### "WLAD FY NGENEDIGAETH."

**"I mi bu gyfeillion lawer, rhywiog a chywir, yn deall cyfreithiau caredigrwydd, ac yn eu cadw yn fanwl; ond UN arbennig o blith y nifer, gan ragori arnynt oll mewn cyfeillach attaf, a ymegnïai eu blaenu belled ag y blaenynt hwy y sawl ag oeddynt o gymhedrol serch tuag attaf."**

**ST. CHRYSOSTOM.**

DANIEL! Daniel! paid â'th gynghor,
Nid oes achos d'wedyd rhagor;
Byth ni wêl yr India helaeth
Fi o Wlad fy Ngenedigaeth.

Wrth 'm' ddarllen dy bennillion,
Gair GWLADGARWCH rwygai 'm dwyfron,
Fel nad allwn, er dyrchafiaeth,
Adael Gwlad fy Ngenedigaeth.

Dy resymau ŷnt mor gryfion,
Maent i mi mal dur-forthwylion;
Peraist im', er pob ystyriaeth,
Fyw yn Ngwlad fy Ngenedigaeth.

Oni b'asai i'th fwyn bennillion
Dreiddio draw trwy giliau 'r galon,
Buaswn i, wrth bob argoeliaeth,
Ym mhell o Wlad fy Ngenedigaeth.

Pan ofynwyd imi gynta'
A awn o'm gwlad i fyw i'r India,
D'wedais awn;—ond etto hiraeth
Oedd am Wlad fy Ngenedigaeth.

Barnu 'r oeddwn i, pryd hwnnw,
Mai o Feirion gwell im' farw,
Nâ gwel'd plant yr hen waedoliaeth
Yn gwerthu Gwlad eu Genedigaeth.

Gofid enbyd oedd i'm calon
Weled Cymry 'n troi yn Seison,
Gan anghofio iaith dda odiaeth,
Iaith hen Wlad eu Genedigaeth.

Onid trwm fod Cymro 'n gallu
Gwadu iaith ei fam anwylgu,
Gwadu 'n hyf, er ei Gymreigiaeth,
Ow! hen Wlad ei Enedigaeth?

Awn i blith yr Indiaid gwylltaf,
Awn i bellder gwledydd poethaf,
Cyn y gwadwn fy nghym'dogaeth,
Neu iaith Gwlad fy Ngenedigaeth.

Cymro! Cymro! gwaeddaf allan,
Iaith dy fam pan oeddit faban,
Honno cara mewn maboliaeth
Gyda Gwlad dy Enedigaeth.

Tra fo môr, a thra fo mynydd,
Tra fo 'n llifo yr afonydd,
Na foed Cymro mewn gelyniaeth
A hen Wlad ei Enedigaeth.

Merched Cymru, mwyn galonnau,
Glân o bryd a gwedd a geiriau;
Cerwch iaith eich mam yn helaeth,
Hefyd Gwlad eich Genedigaeth.

Nid oes mwynach peth na chlywed
Iaith Gymraeg o enau merched;
Y Gymraes, a fyddo fammaeth,
Cofied Wlad ei Genedigaeth.

Pan feddyliwyf fi am Feirion,
Bala bach a'r hen gymdeithion,
Glynu 'r wyf, mal oenyn llywaeth,
Wrth hen Wlad fy Ngenedigaeth.

O! mae f' enaid yn ymlynu
Wrth anwylyd lân yng Nghymru;
Gwn na fyn, mwyn yw ei haraeth,
Wadu Gwlad ei Genedigaeth.

Gyda hon mae ffyddlawn galon,
Gyda hon mae geiriau mwynion,
Pwy rydd imi bob cysuriaeth?
Hon, a Gwlad fy Ngenedigaeth.

Gallwn fyw ar ben y mynydd,
A byd gwael o ddydd bwy gilydd,
Gyda hon, a'r Awenyddiaeth,
Yn hen Wlad fy Ngenedigaeth.

Parchu 'r ydwyf ferched Seison,
Ni chant gennyf eiriau duon;
Ond pwy bia y rhagoriaeth?
Merched Gwlad fy Ngenedigaeth.

Bellach, bellach, rhaid im' dewi,
Mae fy nghalon oll yn llonni;
Ymaith, ymaith, pob hudoliaeth
A'm dwg o Wlad fy Ngenedigaeth.

Daniel! Daniel! y mae f' awen
Wrth ei bodd yn fywiog lawen,
Am ei bod yn cael magwraeth
Etto 'Ngwlad ei Genedigaeth.

Aed i'r India 'r sawl a fynno,
A phob llwyddiant a'i canlyno;
Ceisiaf finnau gael bywiolaeth
Yn hen Wlad fy Ngenedigaeth.

Gwlad Efengyl, gwlad yr Awen,
Goreu gwlad o tan yr haulwen,
Gwlad yn profi gwên rhagluniaeth,
Hon yw Gwlad fy Ngenedigaeth.

---

## MIS MAI.

Mor dêg a hyfryd ydyw Mai,
  Pob peth heb drai sy'n ddedwydd,—
Mor hardd eu drych yw blodau'r drain
  A geir yn gain ar gynydd,—
Aderyn bach, mor bêr dy big,
  A'th gân ar frig y gwinwydd.

Y ddaear rwydd sydd oll yn wres,
  A glân yw tês y glennydd,—
Mor fwyn y gwenyn sydd yn gwau,
  Gan sugno diliau'r dolydd,

Ac arwain adre 'u llwythau llawn
  Ar dynnion iawn adenydd.

Mor lwys a llon yw meillion Mai,
  Y lili a'i chwiorydd,—
Fel llawn yr afon pan bo lli',
  Llawn clod a bri yw'r bröydd:
A daethost tithau 'nol yn iach,
  Gu wennol fach i'n gweunydd.

Mor felus clywed llais y gôg,
  A gweled clôg y coedydd,
Mewn llawen fraint a'u lliw yn frith,
  Ac arnynt wlith boreuddydd,—
A gwrando wrth fachludiad sêr
  Ar ganiad pêr uchedydd.

I roeso Mai, O deued myrdd,
  A'i wên yn wyrdd ar wawrddydd;—
E ddarfu'r gauaf oer ei naws
  Fu'n hir yn draws-reolydd,
Mae Mai mewn braint uwch unrhyw bris,
  Y goreu Fis i faesydd.

Coroner Mai trwy'r byd ar g'oedd
  Yn ben y misoedd mwynrydd
A blodau teccaf trwy y tir,
  Nes byddo'n wir ysblennydd,—
A doed i ganu 'i fawl yn ffrwd
  Mewn cariad brwd bob prydydd.

O doed y merched têg eu pryd,
A'r bechgyn gyda'u gilydd,
Ar ddechreu Mai, i'w barchu o,
I ddawnsio ar y bronydd,
Fel gwna mewn agwedd wych ddi wael,
Yr ŵyn ar ael y mynydd.

Pwy, pwy, yr amser hyfryd hyn,
A erys yn y trefydd,
Yn druan wr, mewn cyflwr cas,
Yn gaethwas rhwng magwyrydd;
Tra'r ddaear las yn siriol iawn,
A'r coed yn llawn llawenydd?

---

## CYFARFOD CYFEILLION.

O MOR hoff yw cyfeillachu,
Ar hyd y nos,
Pan mae'n bronnau yn ymglymmu,
Ar hyd y nos;
Son am ddyddiau hoff ein mebyd,
Am gyfeillion mwyn ein hie'ngctyd,
Dyma waith sy'n llawn dedwyddyd,
Ar hyd y nos.

Cysur calon yw cyfarfod
Ar hyd y nos;

Yfed peth, nid yfed gormod,
Ar hyd y nos;
Son am ein cyfeillion cynnar,
Sydd ym mhell trwy'r byd ar wasgar;
Yfed iddynt iechyd hygar,
Ar hyd y nos.

Son am waith yr hen brydyddion,
Ar hyd y nos,
Canu rhai o'u hoff bennillion,
Ar hyd y nos;
Gadael gofal byd yn llonydd,
Rhoddi wfft i galon cybydd,
Hoffi diliau'r Awen fwynrydd,
Ar hyd y nos.

Y mae'r meddwl yn adfywio,
Ar hyd y nos,
Hen hanesion wrth adgofio,
Ar hyd y nos;
Mewn llawenydd yma'n llonni,
Son am fil o droion digri',—
Y mae'r gwaith yn anwyl ini,
Ar hyd y nos.

Boed in' gwrdd fel hyn ar droion,
Ar hyd y nos,
Gyda'n gilydd o'r un galon,
Ar hyd y nos;

Nid oes hoffach peth mewn bywyd,
Nâ chael awr fel hon yn hyfryd,
I anghofio cur ac adfyd;
Ar hyd y nos.

Gyrrer teulu Dic Siôn Dafydd,
Ar hyd y nos,
Dros y môr a thros y mynydd,
Ar hyd y nos;
Carwn ninnau gyda'n gilydd,
Lonwych Awen lân a chywydd;
Dyma waith a'n gwna ni'n chywydd;
Ar hyd y nos.

---

## CLOD I ABERYSTWYTH.

Gain aber mwyn terydd, pêr odiaeth i'r prydydd;
Lle hyfryd foreuddydd, i'r 'wenydd i wau,
'N ddiattal o ddeutu, fel gwennol, dan ganu
A gwisgi drawsdynnu dros donnau.

Bwäog, llawn bywyd yw 'r aber goreubryd;
I'r claf, yn eu clefyd, mae 'n hyfryd, yr haf;
Llawn yw o ffynbaglau 'adewir i deiau
I'w llosgi rhag gwaaeau rhew gauaf.

Yr awel bêr, rywiog a ddaw, nid yn ddiog,
Dros lâsfor grisialog, rhedegog, i dir,—

A llawer, â'u lliwiau yn wanaidd gan wyniau,
Yn glau, o'u gofidiau gyfodir.

Têg Ystwyth a Rheidiol, o'r bryniau hoff breiniol,
A ddygant feddygol iach radol wych rin,—
Y ddwy am y cynta', yn lwyswych hwylusa',
I'r cla' a bur rodda bereiddwin.

Hoff gweled y llongau â'r haul ar eu hwyliau,
'N tywynu uwch tonnau, a'r badau, o bell;
Un hwyl yn ymestyn i'r Gogledd ar deg-lyn,
A'r llall yn ei herbyn, o hirbell.

Y cregin a'r creigiau, a miwsig brignosau,
A ddeil y meddyliau dan loesau i'r làn;
Màn hoenus, mwyn hynod, â'r tai ar fin tywod,
Yr angeu o'i ganfod a gwynfan.

---

## MORGANWG.

**Ar fesur Triban Morganwg.**

**Pennillion a wnaed i Miss Lewellin, Boneddiges ieuangc o sir Forganwg, ar ei gwaith yn ymweled â'i pherthynasau yn sir Aberteifi.**

Er byw mewn ardal ddiddrwg,
Sy'n weddol hardd ei golwg,
Yn fynych iawn o fewn fy ngho'
Mae dolydd bro Morganwg.

Mae yno fil o bethau
Na fedd un eraill fannau;
Bydd ar fy meddwl tra b'wyf byw
Mor hyfryd yw ei llwybrau.

Pe bawn ar randir India,
Ym mhell dros fôr llydana',
Ni chofiwn byth, a llygad sych,
Morganwg wych anwyla'.

Màn yw lle ces fy ngeni,
Màn yw sy'n tra-rhagori:
I'r lân feillionawg ddeiliawg ddôl
Bydd myn'd yn ol yn eli.

Morganwg! mawr y gwyniau
A'r hiraeth, hwyr a borau,
Sy'n rhoi i'm calon frath a breg,
O olwg dêg dy gaeau.

Gardd Cymru yw Morganwg,
A'i ffrwythau pêr yn amlwg;
Gardd yw o wenau oll yn llawn,
Yn hyfryd iawn ei golwg.

Y mae 'i chabandai gwynion
Yn hardd fel perlau glwysion;
Mae holl breswylwyr mwyn y fro
A'u gilydd o'r un galon.

Gwlad yw sy'n llawn llawenydd,
Yn hoffi gwaith y prydydd:
Try 'n fud y gôg wrth glywed cân
Ei Thriban glân trwy 'i glennydd.

Gwlad wiwrydd tywydd tawel,
Gwlad ddibrin, iesin, isel:
Gwlad dêg iachusaf dàn y rhod,
Mae imi 'n glod ei harddel.

---

## I BONT AR FYNACH.

**Yr hon a elwir Pont y Gwr Drwg.**[a]

YN burlan uwch y berwlif—y sefi,
　Uwch safn cwm y mawrlif;
Lle y llam yr hylla' llif
Ddeugeinllath yn ddig wynllif.

Wyt gadwyn yn dwyn dywenydd,—a chlod
　Gwych lydan trwy 'n bröydd;
A rhaff, na ddaw byth yn rhydd,
Wyd i fwnwgl dau fynydd.

---

a Y mae'r Bont hon, a'r rhaiadr, neu gwymp dwfr ag sydd yn uniongyrchol dani, yn un o'r rhyfeddodau mwyaf yn yr Ynys.

Danat heb baid naid ofnadwy—raiadr
Gan ruo trwy'r adwy,—
A chan nerth ei ryferthwy,
Gwna y llif y graig yn llwy.

Mae anian ddiran yn gynddeiriog—wyllt,
A'i gwedd yma'n llidiog;
Ei tharan sy'n fytheiriog,
A'i gruddiau yw creigiau crôg.

O'th ben, bont fwynwen fanol,—edrycher
I drachwith bant ffrydiol;
Pa enaid na naid yn ol
O sydyn fraw arswydol!

Mi a wn mai rhyw ymenydd—cadarn
Fu'n rhoi cydiad celfydd
Y Bont addien ysblennydd,
Uwch ceudod yn syndod sydd.

Llesiol wyt, trwy'r holl oesoedd,—da waith,
I deithwyr, aml filoedd;
Camfa lân uwch cwm â'i floedd
Nwyfus yn cyrhaedd nefoedd.

Gwir draws yw rhoi i'r Gwr Drwg—y moliant
Am haeledd mor amlwg;
I ni dda mae'n wir na ddwg
Etifedd cas y tewfwg.

# BEDD GELART.

Cyfieithad talfyredig o Gerdd Saesneg o'r enw, gan yr Anrhydeddus W. R. Spencer.

Llywelyn ab Iorwerth, Tywysog Cymru, yr hwn oedd wedi priodi Joan, merch ordderch John, brenin Lloegr, a dderbyniodd, yn rhodd oddiwrth ei dad-yng-nghyfraith, Filgi gorwych o'r enw *Kill-hart*, (lladdwr carw,) wedi hynny a droid yn Gymraeg, Gelart. Y mae traddodiad yn y Gogledd, i Llywelyn, wedi colli ei gi ag oedd mewn ffafr neillduol ganddo, ddychwelyd ryw ddiwrnod o'r helfa yn anfoddlon i'w gyflwr; a phan ddynesai at ei gastell, ei ffyddlon gi, Gelart, a garlamodd i'w gyfarfod; a chan wenieithu, neidio, a siglo ei gynffon, a ddangosodd lawenydd anarferol: ond ei enau gwaedlyd, a'r llawr gorchuddiedig gan waed, a gynhyrfodd syndod ei feistr, a'i fawr arswyd, wrth weled y gadair, yr hon a ddaliasai ei blentyn, wedi ei dymchwelyd. Gan feddwl fod y ci wedi lladd ei anwyl faban, efe yn uniongyrchol a'i trywanodd â'i helwayw-ffon, pan y rhoes y creadur truan gri cwynfanus ac a drengodd. Wedi troi'r gadair i fynu, efe a gafodd ei faban dani yn fyw, ac yn cysgu, â gwrid ar ei ruddiau; a gwelai yn agos flaidd marw, yr hwn yn amlwg a laddesid gan Gelart. Gellir yn hawdd ddychymygu galar Llywelyn. Efe a gyfododd gofadail uwch bedd ei ffyddlon gi, a elwid oddiwrth hynny Bedd Gelart, yr hwn hefyd a roddwyd i'r Eglwys blwyfol yno wedi hynny, yr hon a ddaeth yn ganolbwynt i dref fechan yn Sir Gaernarfon, a elwir hyd heddyw Bedd Gelart. Ar y traddodiad hwn y sylfaenwyd y Gerdd.

Yr helwyr godent gyda brys
  Ryw foreu 'n foddus fyddin,
A chlywai'r helgwn, heb ddim orn,
  Yn ufudd gorn Llywelyn.

Uwch ynddo etto chwythai ef,
  A chodai lef llawenydd,—
Dos, Gelart, dos,—rhoi clust wnait ti
  Y blaenaf i'm lleferydd.

Pa le mae Gelart, pen ei ryw,
  Y boreu heddyw'n crwydro?
Hwn gartre' fel yr oenyn sydd,
  A llew pan orfydd taro.

Ymborthi wnai y milgi gwrdd
  Yn ymyl bwrdd Llywelyn,—
Ei feistr gwasanaethu wnai,
  A gwiliai'r nos rhag gelyn.

Oedd filgi gwych, o ddewraf fron,
  O roddiad John enwoca';
Ond Gelart 'nawr ar goll a gaid,
  Er hyn myn'd wnaid i'r helfa.

Llewelyn glew 'r dydd hwn ni cha's
  Ddim nemmawr flas, na'i foddio,—
Bu'r ddalfa'n wael; y bai oedd hyn,
  Fod Gelart yn gwrthgilio.

Llywelyn dro'i yn drist i dre',
  A Gelart fe ganfyddai
Yn rhoddi 'n llon i'w gyfarch ef
  Wichialaidd lef a 'strangciau.

Ond pan at ddrws ei gastell daeth,
  Yn llawn yr aeth o syndod;

Y ci oedd oll yn goch gan waed,
  Ei drwyn, ei draed, a'i dafod.

Llywelyn brysio 'mlaen a wnai,
  A Gelart a'i canlynai;
Lle bynnag y cyfeiriai 'i draed,
  Hyll ffrydiau gwaed a welai.

Yn ddymchweledig gwelai grŷd
  Ei faban, enbyd olwg!
A thros y gwèlydd a than draed
  Arwyddion gwaed yn amlwg!

Ar ei anwyl-fab galwai 'nawr,
  Dan ofid mawr anaele,—
Gwaed, gwaed o gylch a gai yn l'i',—
  Ei faban ni chai'n unlle.

"Uffern-gi cas! fy mhlentyn i
  Sydd gennyt ti'n lladdedig."
Dywedai'r tad; a rhoes ei gledd
  Trwy'i berfedd ef mewn mawrddig.

Bloedd Gelart pan yn syrthio'n wyw,
  Ddihunai ryw gysgadur,—
Y tad a glywai lais pêr iach
  Ei blentyn bach yn eglur!

'Doedd arno niwaid mewn un màn,
  Er syrthio dàn y gadair;
Gerllaw yr hon blaidd marw gaid,
  A fu o ddiriaid ddewrder!

Llywelyn! faint oedd 'nawr dy gur,—
  Disgleiriodd eglur wiredd;
Y blaidd a laddwyd gan y ci,
  I gadw i ti d' etifedd!

Llywelyn 'nawr a roddai gŵyn,
  "Wyf wedi dwyn dy einioes.—
Yr ergyd marwol gefaist ti
  Rydd byth i mi alarloes!!"

I'r ci a garai ef mor fawr,
  Cofadail 'nawr cyfodwyd,
A maen o fynor i goffâu
  Ei glod a'i raddau roddwyd.

Tra 'r Wyddfa'n sefyll uwch y lli',
  Tra 'r ser yn t'wynu 'n hoyw,
Y cyssegredig fan mwyn, rhydd,
  Bedd Gelart fydd ei enw.

---

## Y DDAFAD.

Mor wirion ydwyt, Ddafad fwyn,
  Mae'th wedd yn dwyn rhyw deimlad
I bob rhyw fynwes, hawddgar, rwydd,
  O wir serchogrwydd attad.

Nid oes it' erfyn o un math
  I ymladd â'th elynion ;
Na chorn na charn i daro'r ci
  A fo'n dy boeni 'n greulon.

Dim, dim ond ffei, yn llesg a gwâr,
  Yw amddiffynfa'r Ddafad,—
A chynt nâ hi pob corgi sydd
  Pan fwyaf rhydd ei rhediad.

A phan y metha 'i hoenyn glwys
  Ei dilyn er dwys alw,
Er braw, ni âd yr eiddil gwan ;
  Saif yn y fan hyd farw.

Ac wrth y llawr ei throed hi gur
  Yn anwyl bur ei bwriad.—
E gododd ganwaith, wrth wel'd hyn,
  Y deigryn yn fy llygad.

Ond os na roddwys Natur lon
  Ddant llym i hon, na charnau,
Mae unpeth iddi etto'n faeth
  Nid gronyn gwaeth nâ hwythau.

Mae iddi'n dêg ymgeledd dyn,
  Dan frath a gwŷn helbulon.—

A modd i dalu iddo'n faith
  Am oll o'i waith mwyneiddlon.

Peth mwy ei werth a rydd i ni
  Na'r prisfawr fwyni arian;
Neu aur, sy'n llenwi daear dda
  Y liwdeg India lydan.

I ddyn mae 'n rhoddi cymmorth clyd,
  Rhag gwyntoedd enbyd digllon,
A rhag y gwlaw sy'n curo'n flin,
  Pan byddo'r hin yn greulon.

Y fantell wresog gawn y nos
  Mewn gwely diddos diddan,
Pwy in' a'i rhydd yn fendith rad,
  Pwy, ond y Ddafad fwynlan?

Iawn gofiwn am y Ddafad dda,
  Pan byddo'r gaua' 'n rhuo;
Pan guro'r gwlaw—a ninnau'n glyd,
  Boed parch o hyd i honno.

Ei gwisgoedd hi i ni sy'n nawdd,—
  Mae hi wrth glawdd yn delwi:
Dangoswn fyth y gorau fan
  I fod yn drigfan iddi.

# PENNILLION

A wnaed yn ddifyfyr i annerch Siôn y Pannwr, o Ryd-Owen, Ceredigion, ar ei waith yn myned â THELYN DEWI, sef gwaith prydyddawl y Parch. David Davis, o Gastell-Hywel, i Gastell Nedd, i'w anfon yno i'r Argraphwasg, Mawrth 8fed. 1823.

O SIÔN y Pannwr pennaf,
Mae gennyt waith o'r mwyaf,—
Rho glust i'm geiriau yn ddi feth,
A gwrando'r peth a draethaf.

O gochel ffos a nentydd,
A phob rhyw ddrwg afonydd,
Rhyw bwysfawr waith â thi sy 'nglyn,
Sef cario Telyn Dafydd.

Nid yw holl aur yr India,
Na golud maith Ewropa,
O gymmaint gwerth â'r baich y sydd
Ar ben dy ysgwydd, cofia.

Ni raid it' ofni'r Gelyn,
Os daw ef yn dy erbyn,
Yn fawr ei boen fe red i bant
Ond taro tant y Delyn.

Hen Saul gai heddwch iddo,
A'r Drwg-wr fyddai'n cilio,
Pan gym'rai Dafydd delyn gain,
A rhoi ei sain i swnio.

Na 'wed wrth wŷr Morganwg
Un gair,—cerdd ar dy gilwg,
Rhag dwyn o neb, b'ai 'n chwerw 'r tro,
Y Delyn o dy olwg.

I'th gwrdd os na ddaw'r Gelyn,
Na chynnyg chwarau'r Delyn,
Rhag ofn yr âi, ar ben rhyw ros,
I aros yno flwyddyn.

Mae 'i dolef fel y diliau;
Mae mêl a gwin o'i genau;
Nid âi di byth o'r fan i ffwrdd,
Os byth it' gwrdd â'i thannau.

Gan hynny nac arosa,
Ond rhed fel march cyflyma'
Mewn oriau naw i Gastell-Nedd,
Cei dâl a hedd o'r hawdda'.

---

## YMDDIDDAN-GERDD.

DEWI.

Y CYFAILL mwyn cofus, a welwyd yn hwylus,
Mae cwrdd yn ddiddanus, iaith hoenus, â thi;
Fy llaw o gariadwaith it' estyn yn dystwaith,
Ddiweniaith gydymaith, gâd imi.

IDWAL.

Bu Idwal mor heini â'r hydd, ac yn rhoddi
I sôn waith i synnu cyn nagu o'i nerth;
Ond henaint anhoenus a drodd yn anweddus
Un nwyfus, iawn ddawnus, yn ddinerth.

DEWI.

Yn hen yr wyf f' hunan, a'm hagwedd yn egwan;
E ddengys yr oedran wall buan lle bo;
Gadewn dros ychydig fan hon, mae'n fan unig,
I'n pwysig gyrph ysig orphwyso.

IDWAL.

Mae 'm berrau 'n llwyr barod i hyn, ac nid hynod;
Ymwasgwn i gysgod o gryfdod y gwres;
I'n gilydd am unwaith iawn rhoddi mewn rhwyddiaith,
O'n dwyswaith, lew henwaith, ail hanes.

DEWI.

Am godwm myg odiaeth o'it, wr, â'th naturiaeth
I honni'r frenhiniaeth trwy'r dalaeth yn dêg,—
Ar ymffrost trwy'r ardal lle rhodiet, frawd Idwal,
Was arial, digystal, doi gosteg.

IDWAL.

Am bêl yr o'it tithau, gâr Dewi, trwy'r Dëau,
Yn fawr ar ryw forau mewn seiniau, mewn sôn;
O'th weled b'ai synnu, mor ysgafn, mor wisgi
I'r clochdy 'n dewr godi d' ergydion.

DEWI.

A gofi di 'n gyfan Wil Llwyd o'r Pantllydan,
Gwr hwylus, goreulan, iawn ddiddan i'w ddydd?
Collasoch fawr ffynnon o chwys ar achosion,
Ddau lon, o un galon â'u gilydd.

IDWAL.

Mae'th iaith yn fy ngweithio'n ail fyw (pwy all feio?)
Hynodwych am neidio fu'r dwndro, un dydd;
Ti gofi yr awr'on, da gwn, yn deg union,
Dai Salmon ac Einon y cynydd.

DEWI.

Mae'r hen fechgyn llawen â'u deurudd mewn dae'ren;
Rhyw eilfath o elfen anniben sy 'nawr;
Llawn enllib a drygfoes a rhagrith cas rhygroes
Yw 'r oes, er du oerloes daearlawr.

IDWAL.

Da wir yw dy eiriau, diweddodd y dyddiau
O fyned i fannau llon chwarau a chân;
Yn awr yn ein oeroes, wahanol i'n henoes,
Nôd eirioes gwareiddfoes yw griddfan.

DEWI.

Gwna wyneb o lasfwg ac aelau ar gilwg,
E'th fernir yn amlwg, ddwys olwg, yn sant;
Seguryd os ceri, i bulpid cei'th helpu,
A'th fawrfri dwsenni da seiniant.

IDWAL.

Yr efail, le gorau o gwmpas am gampau,
  Mewn diddan well dyddiau, 'nawr (swyddau
    rhy sâl),
Er gwenwyn i Gymru, 'r bai syn o absennu,
  Drwg si, a goganu ga gynnal.

DEWI.

Tra boddiol y byddid, heb gynnen nac anwyd,
  Yn geinfalch mewn gwynfyd pan bwrid y barr;
Sawl garo yr awr'on yn fawr hen arferion,
  Barn dynion e'n union yn anwar.

IDWAL.

Mae swn y byd newydd yn gryfach am grefydd,
  A ydyw'n dda ddedwydd ar gynnydd mewn
    gwir
Ryw awr gywir eirian, pan elwir yn wiwlan
  Y cyfan i'r glorian, eglurir.

DEWI.

Mil mwy o genfigen, os llai sydd yn llawen,
  At gelwydd mwy elfen is haulwen y sydd;
A gyrrwyd Brawdgarwch, dad addwyn dedwydd-
    wch,
  A'r fflwch hen dawelwch o'n dolydd.

IDWAL.

Dynionach eu gilydd a grafant am grefydd,
  Lom un yr ymenydd, frwnt awydd ein tir;

Am grefydd o'r ffynnon, wna'n dêr ac yn dirion,
O'r eigion naws calon nis gwylir.

DEWI.

Ein dyled yn olau a roir mewn byr eiriau,
A'i ddeall yn ddiau wna doniau pob dyn,—
Sef caru Duw 'nghynta' yn hylwyr anwyla',
Ac yna 'n barod-dda ein brawd-ddyn.

IDWAL.

Y cerdded i'r cyrddau, a'r nâd a'r och'neidiau,
Ni wnant yn ddiammau lwys orau lesâd,
Heb fod yn gyfrodedd, trwy helynt a haeledd,
I Dduw yn anrhydedd ein rhodiad.

DEWI.

A geir yn rhagori 'r dô hon mewn daioni,
'N ol dëol i dewi bob digri' waith dyn?
A ddyry gwyr gwaraidd ein hoes yn fwy nawsaidd
A chlau i ddall llwydaidd ddilledyn?

IDWAL.

'Nol cyrddau a griddfan o'r cof yr â'r cyfan;
Pob un drosto 'i hunan, waith Satan, y sydd,—
Yn lle gwneyd yn fwynlon, 'nol gair y Duw gwirion,
Dda 'n ffyddlon o galon i'w gilydd.

DEWI.

Fy hunan e's neithiwr i glydwych dŷ gwladwr,
Gryf hyddoeth grefyddwr, a mawr-wr llawn modd,

Am fenthyg, dan angen, rhag aball rhyw ddiben,
  I'm chweugain o'i goden,—e'i gwadodd.

IDWAL.

Y gwr sydd ag arian nis try at y truan,
  Cais enill, gas anian, oer bagan, aur byd;
O'i flaen pan yn rhyfedd yn aros, iawn wiredd,
  Mae oeredd y culfedd ac eilfyd.

DEWI.

Pan gynt awn o gartre' ar daith dros fynyddau,
  Gofalu rhag eisiau ni fyddai am fwyd;
Cawn gynnyg, mi honna', yn hylon, lawn wala,
  Yn wiwdda i'm bola 'mhob aelwyd.

IDWAL.

Os gwelir gwas gwaelaidd, truanwawr, estronaidd
  Yr awrhon â'i duedd, hynt wanaidd, at dŷ;
Yr hwswi am guddfa, rhag cardod i'r gwrda,
  A frysia, wawr boda, i'r beudŷ.

DEWI.

O'r ffermdŷ i'r pentre' ni ddaw 'nawr yn ddiau
  Bur lawn ysteneidiau yn forau o faidd.—
I'r twlc hwn yn heini' i gyd gaiff ei godi
  I borthi 'r gwych wiwlu gwichialaidd.

IDWAL.

Y gwael y'nghrog eled; rhaid talu y dyled
  Mewn siopau heb arbed dros Farged, y ferch,

Sy'n ofni'n lled enbyd, y felen hwch fawlyd,
Cyn maglu dyn ynfyd, daw'n henferch.

DEWI.

Ti nodaist, 'rwy 'n gwybod, gan waith y genethod,
I'w mysg fath orhynod, fursendod y sy;
Arferant ryw fyriaith hyll iawn, ac nid lloniaith,
Fel pe b'ai 'n llafurwaith llefaru.

IDWAL.

Os tra chywilyddgar ei hagwedd anhygar,
Heb arfer iaith hawddgar a dengar y dydd,
Y feinwen rydd fwynair da iawn, ac nid anair,
Y nos mewn tew lwydwair towlodydd.

DEWI.

O hyn y mae profion yn digwydd uwch digon,
Yn faich ar yr hwsmon â'i galon dan gur,—
Tra Thwm dan ddû gwmmwl yn holi 'n dra manwl
Pris gwaith caib a morthw'l ym Merthyr.[a]

IDWAL.

Ar Mary 'th wraig gynta', a chwarddai'n iach wirdda,
Bu caru o'r mwya', o'r tynna' trwy 'r tir,—
Yn bur daeth y lodes er hyn, e'i gŵyr hanes,
Yn lles i dy fynwes, da feinir.

---

[a] Dinas noddfa tadau basdarddiaid yn y Deheubarth.

DEWI.

Bol mawr y pryd hwnnw oedd surwarth dwys arw
I ferch, a gwnai 'i gadw rhag sylw a si;
Mae'n awr yn anwaraidd, yn lle deuddyn gweddaidd,
Mewn cwlwm *dri* 'n rhwyddaidd i'w rhoddi.

IDWAL.

Ble 'n dêg mae'r diwygiad a fostir yn wastad
Gan lu, a'r goleuad mewn siarad y sy?
Gwae gwyr y gwag eiriau sy'n hudo eneidiau;
Gwel wallau dy gamrau, da Gymru.

DEWI.

Boed gweled yn llwyddo mewn iawn fraint ein henfro,
Y gwir yn blaguro, 'n blodeuo, bob dydd,—
A chariad cyffredin 'n egino 'n nhir gwenwyn,
A therfyn ar golyn oer gelwydd.

IDWAL.

Doe yna i dywynnu gwawr nef gan degnofi
Ein daear o ddeutu 'n wych longu a chlau,—
Yr eos i byngcio yn lwysfraint i'r lasfro,
A'i thôn yn mwyneiddio 'n mynyddau.

DEWI.

Cyfarfod â'n gilydd fu 'n odiaeth o ddedwydd,
Sai 'n hir dy leferydd mwyn gwiwrydd ar go';

Yn rhodd dyma gyllell dra lliwgar o'm llogell
  It', gyfaill, am gymhell ymgomio.

IDWAL.

Fy hen flwch tybacco gei dithau i gyd-deithio;
  (Ar hirnaid mae arno lun cadno mawr certh,)
Ef derbyn yn heini', a chadw 'n wych wedi,
  I'm cofio 'n hir, Dewi, er diwerth.

---

## I'R CYBYDD.

O mor atgas ydyw'r Cybydd,
    Ar hyd y nos,
Heb ddim cwsg, yn llwyr aflonydd,
    Ar hyd y nos,
Tra mae'n meddwl am ei arian,
Yn ei gur, gan fethu hepian,
A'i hen siol yn llawn o ffwdan,
    Ar hyd y nos.

Wrth ei ganwyll ddu ac aflan,
    Ar hyd y nos,
Fel ei galon ef ei hunan,
    Ar hyd y nos,
Rhif ei goden fil o weithiau,
Gan ddywedyd, Gwnaf fy ngorau
I'w rhoi'n llawn, er goddef eisiau,
    Ar hyd y nos.

Mynna' 'i llanw, doed a ddelo,
        Ar hyd y nos;
Hoff i mi onestrwydd cadno;
        Ar hyd y nos;
Ni wrandawaf gŵyn y gweinion,
Fwy nâ'r barcud 'sgrech y cywion;
Dim i mi ond arian ddigon,
        Ar hyd y nos.

Dyma iaith y cybydd aflan,
        Ar hyd y nos,
Sydd yn byw fel hen ddylluan,
        Ar hyd y nos:
Pan bo'r byd yn llonydd huno,
Ei ofalon yw dyfeisio
Sut i gasglu'r aur trwy dwyllo,
        Ar hyd y nos.

Pan bo'i bwys ar wely carpiog,
        Ar hyd y nos,
Gofid hwn sy 'nghylch y geiniog,
        Ar hyd y nos:
Pan y cwsg am ennyd fechan,
Yn ei freuddwyd cyll ei arian,—
Yna'n wyllt rhydd fawrfloedd allan,
        Ar hyd y nos.

Y mae Satan yn datguddio,
        Ar hyd y nos,

Llwybrau anghyfiawnder iddo,
Ar hyd y nos;
Y mae llawer o ymddiddan
Rhwng y ddau am bethau aflan,
Tra mae'r byd yn tawel hepian,
Ar hyd y nos.

---

## CYWYDD Y GLOCH OFNADWY,

### NEU'R WRAIG GECRUS.

Clywch gloch rhwng dwy foch fychain,
Rydd, heb rus, arswydus sain:
Cloch yw hon, clywch ei hanes,
A yrr o dŷ 'n llwyr ei des;
Ei sain ddadchwala 'r synwyr,
Hyll y gosp, ond llu a'i gŵyr,—
Cloch boenus, ingus, angall,—
Anniddig fiwsig y Fall,—
Cloch yr angau! clywch ringyll
Gwelw, anhardd, y gelyn hyll:
Cloch y diawl, clywch ei dolef,—
Ciliaw o'i nych yw cael nef.
O! am ogof i 'mddofi
O glyw swn ei dig-lais hi,—
Neu wâl ar fawr-fryn niwlog,
A'i grib fel y Frenni[a] grôg;

---

[a] Mynydd yn swydd Benfro.

Crochsain y cigfrain o'u co',
Yna 'n chwiban uwch abo,
Goddefwn yn deg ddifyr;—
Ond sain hon y galon gyrr
Ar wasgar, gan oresgyn
Cynneddfau a doniau dyn.
Canu'r gloch, gwyddoch, heb gêl,
Y Sabbath wna Jesebel:
Tawed gwynt a hyll hynt llif,
Ni thaw hon â'i chnith heinif:
Gwae a gym'ro yn llo llaith,
Y gloch hon i'w gylch unwaith.
Ni cha gawr, och! ei gwared,
Nac arian holl groywlan Gred;
Cloch ffraeth yr ymyrraeth mawr,
Dilyn wna hon hyd elawr.
Gloch ofnadwy! yn pwyo
O siol gwr ei sylw a'i go'.
Efallai mewn cyfeillach,
Pan bo'th fron yn wiwlon iach,
Y try yma 'r twrf tramawr
A dyr hedd y wledd i lawr.
Gwna'r gloch i'r moch drwm achwyn
Lawer tro, glwy' ar y trwyn,—
A'r cwn o'r swn gresynol
Ffoant draw gan siglaw'r siol.
Y cathod, mewn ofn cethin,
Mewn cyfyngder, bwyngder blin,
A lechant ar le uchod,
Fan rhydd, a da fydd ei fod.

Gan nerth ei llais, hagrlais hi,
O'u llaesdrefn cwymp y llestri
Yn chwilfriw,—mae'n uchelfraint
A byd o hedd bod o'i haint.

Yn barod yn y borau
Mae sain hagr-groch y gloch glau;
Cyn nawn trwm iawn d' ymenydd
Yn faich yn dy iad a fydd:
Gwell it' heno dan glo 'n glaf
Daer alw am dy awr olaf.

---

## CAN Y GWAHODDWR.[a]

Bydd da i chwi bobol, o'r hynaf i'r baban;
Mae Stephen Wahoddwr â chwi am ymddiddan;
Gyfeillion da mwynaidd, os felly 'ch dymuniad,
Cewch gennyf fy neges yn gynnes ar ganiad.

Y mae rhyw greadur trwy 'r byd yn grwydredig,
Nis gwn i yn hollol ai glanwedd, ai hyllig,
Ag sydd i laweroedd yn gwneuthur doluriad,
Ar bawb yn gongcwerwr, a'i enw yw Cariad.

---

[a] Yr arfer o gynnal neithiorau a gwahodd iddynt sydd gyffredinol iawn yn swydd Geredigion.

Yr ifaingc, yn awchus, a dery fynychaf
A'i saeth trwy eu hasen, mewn modd truenusaf ;
Ond weithiau â'i fwa fe ddwg, yn o fuan,
O dan ei lywodraeth y rhai canol oedran.

Weithiau mae 'n taro, yn lled annaturiol,
Nes byddont yn babwyr yn wir yr hen bobol ;
Mi glywais am rywun a g'as, yn aflawen,
Y bendro 'n ei wegil yn ol pedwar ugain.

A thyma 'r creadur, trwy'r hollfyd wrth grwydro,
A drawodd y ddauddyn wyf drostynt yn teithio
I hol eich cynnorthwy a'ch nodded i'w nerthu,
Yn ol a gewch chwithau pan ddel hwn i'ch
brathu.

Ymdrechwch i ddala i fyny, yn ddilys,
Bawb oll yr hen gwstwm, nid yw yn rhy gostus,-
Sef rhoddi rhyw swlltach, rai 'nol eu cysylltu,
E fydd y gwyr ifaingc yn foddgar o'u meddu.

Cânt brynu rhyw bethau ynghyd, gan obeithio
Byw yn o dawel, a'u plant yn blodeuo ;
Dwyn bywyd mor ddewis wrth drin yr hen ddaear
A Brenin y Seision, neu gynt yr hen Cæsar.

Can's nid wyf fi 'n meddwl mai golud a moddion
Sy'n gwneuthur dedwyddwch, dyweden' hwy
wedon' ;
Mae gofid i'r dynion sy 'n byw mewn sidanau,
Gwir yw mai'r byd hawsaf yw byw heb ddim
eisiau.

'Roedd Brenin mawr Lloegr[b] a'i wraig yn alluog,
A chig yn eu crochan—ond etto 'n byw 'n
'sgrechog;
Pe cawsai y dwliaid y gaib yn eu dwylo,
Yr wyf yn ystyried y bu'sai llai 'stwrio.

Can's cynnal rhyw gweryl yr oent am y goron,
Ac ymladd â'u gilydd, a hynny o'r galon;
'Rwy 'n barod i dyngu, er cymmaint ein hangen,
Nad oent hwy mor ddedwydd â Stephen a Mad-
len[c]

*    *    *    *    *    *

Yr wyf yn attolwg ar bob un o'r teulu,
I gofio fy neges wyf wedi fynegi,[d]
Rhag i'r pâr ifaingc ddyweyd, y pryd hynny,
Os na chânt ddim digon, mai fi fu 'n diogi.

Chwi gewch yno roeso, 'rwy'n gwybod, o'r hawsaf,
A bara a chaws ddigon—on'dê mi a ddigiaf;
Caiff pawb ei ewyllys, dybacco, pibelli,
A ddiod hoff ryfedd—'rwyf fi wedi 'i phrofi.

---

*b* Y gân hon a gyfansoddwyd yn glau ar ol yr holiad cyhoedd a wnaeth y Brenin Sior y pedwerydd ynghylch ymddygiad y Frenhines Caroline, ei wraig, 1820.

*c* Magdalen, enw gwraig y Gwahoddwr.

*d* Y mae y Gwahoddwr yn dechreu y pennill hwn ar ol dywedyd mewn rhyddiaith, y pethau mwyaf neillduol; megis enwau y dynion ieuaingc, &c.

Gwel'd digrif gwmpeini wy 'n garu 'n rhagorol,
Byw 'n wastad mewn gofid sy 'n oerwae gauafol, -
Mae amser i gwyno, mae amser i ganu,
Gwir yw mai hen hanes a ddywed in' hynny.

Cwpanau da fawrion a dynion difyrrus
I mi sy ryw olwg o'r hen amser hwylus;
Ac nid wyf fi 'n digio, os gwaeddi wna rhywun,
Yng nghornel y 'stafell,--A yfwch chwi, Stephen?[c]

Dydd da i chwi weithian; mae 'n rhaid i mi deithio
Dros fryniau, a bronnydd, a gwaunydd, dan gwyno;
Gan 'stormydd tra awchus a chan y gwlaw uchel
Caf fi lawer cernod—a chwithau 'n y cornel.

---

## ANNERCH YR AWDWR I'W GI.[a]

AWST 6ED, 1825.

Yleni etto, Carlo bach,
Mae'r boblach fel y llynedd,
Yn myn'd â'r crymman, yn ei bryd,
I dorri 'r ŷd melynwedd.

---

c Enw y Gwahoddwr, sef Stephen Siôn Ellis, Dihewyd, Ceredigion.

a Dealler mai Ci adar yw.

Y mae 'r deuddegfed Awst gerllaw,
  I'r mynydd draw rhaid codi:
Sut yr ymdeimli at dy waith,
  D' arferol lonwaith, 'leni?

Y mae dy lygaid braidd yn gweyd
  Y ceisi wneyd dy orau,
Ac mai 'th hyfrydwch, doed a ddel,
  Yw myn'd lle'r elwyf finnau.

Daw hela petris cyn bo hir,—
  A dd'wedi 'r gwir yleni,
Drwy ddangos imi, â dy drwyn,
  Le byddont hwy 'n trigfannu?

A godi 'th droed yn gynnil wâr,
  Rhag tarfu 'r adar glwysfad?
Ac a ddisgwyli, rhag cael sèn,
  Nes delo 'th berchen attad?

Os cwyd 'sgyfarnog o dy fla'n,
  A dd'wedi 'n fuan wrthi,
Yr wyt nâ mi yn llawer cynt,
  Dydd da, rhwydd helynt iti?

A âi di 'leni ar dy dòr,
  Heb gyngher, gwg, na rhybudd,
Tra byddwyf fi, yn dwym fy mryd,
  Yn darpar ergyd newydd?

Fel hyn arferit wneyd, heb lai,
  Yn llwyr ddi fai 'th wasanaeth,—
Dealli 'n lew, fel pawb o'th lin,
  Y ffordd i drin helwriaeth.

Mae rhyngu 'm bodd fy ffyddlon Gi,
  Da gwn, i ti 'n hyfrydwch,—
A'm canlyn ar fy nhaith, bob awr,
  Rydd iti fawr ddifyrwch.

Yn rhydd pan gaffot dd'od o'th dŷ,
  Fy ol ddilyni 'n fuan,—
A gofid prudd fydd ar dy ael
  Nes iti 'm caffael allan.

Ti fuost bedair blwyddyn faith
  Yn fwyn gydymaith imi,
Dros lawer iawn o barthau 'r byd,
  Yn diddan gyd-drafaelu.

Os imi bu cyfeillion gau
  Yn peri oriau tristaf;
Mi ges fy nghi, o dan fy nghwyn,
  Yn gyfaill mwyn ffyddlonaf.

Mewn serch cywirach wyt, was eu,
  Nâ dynion, deulu 'r gweniaith;
Gwell fu'sai 'm ffydd mewn cant, pe 'n bod,
  Fel ti, heb wybod uniaith.

Ar ol dy holl ffyddlondeb di,
A fyddaf fi mor greulon
Ag, yn dy henaint, pan y daw,
It' omedd llaw gariadlon.

Cei ran yn dda, beth benna' ddel,
O 'myd yn dawel, Carlo,—
Cei ran o'r tŷ, cei ran o'r tân,
Gwas eirian, i'th gysuro.

---

## I HEN WRACH DAFODOG.

Erglyw, yr hen wrach fawrglap—â'th goryn
Yn maith garu dyfnglap;
Cadw di hagrgroch gloch y glap
Dan ddeuglo, nes daw 'n ddiglap.

A gesgli di atgasglap—yn ddewrllym,
Gan ddarllaw newyddglap?
Diweddglo'th annedwyddglap
Fo carchar, rhag clochdar clap.

Dewisglod am ei dwysglap,—a moliant,
Gaiff melin gysonglap;
Och! hollglod hen wrach hyllglap
Sydd rhwng carwyr, cludwyr clap.

## DYDDIAU PYSGOTTA.

Yn nyddiau 'r gwanwyn tirion,
Hoff gennyf lannau 'r afon,
A chynnyg tammaid têg ei rân
Yn dwyll i'w glân drigolion.

O'r de' ar glau adenydd,
Pan ddaw 'r awelon gwiwrydd,
Mwynderau gwell nag eiddo 'r gwin
A geir ar fin afonydd.

Ceir yma awyr rywiog,
A gwenau dolydd deiliog,
A hudo deiliaid heirdd y dwr,
Sy 'nawr mewn cyflwr bywiog.

Yn neidio at wybedyn
Mae'r rhai'n ; rhof finnau blufyn,
Fu'n harddu 'r ceiliog dwys ei dôn,
O amgylch bôn fy machyn.

Y mae o'r unlliw 'n union
Ag yw 'r gwybedyn gwiwlon :
Yn awr, mi roddaf hwn ar waith
Ar wyneb maith yr afon.

Ha ! neidiaist, lân bysgodyn,
Ond aist yn ol yn sydyn,—
Mae arnat eisiau meddyg mwyn,—
Yn cwrdd â'th drwyn bu gelyn.

Fan draw wrth fôn y wernen
Mi daflaf flaen fy ffunen,—
Mae acw 'n gorwedd hyfryd langc,
Os yw 'n ei wangc, yn llawen.

Y mae e wedi cydio,—
Mae 'r *reel* yn erchyll swnio!
Yr wyf yn gryndod oll a braw!
Beth, beth a ddaw o hono!

Wialen! wyt fel bwa;
Un mawr yw hwn mi honna',—
Ni welais etto ddim o'r gwalch,
Ond byddaf falch i'w ddala.

Mae eisiau 'i gael i'r golwg,—
Ar fyr fe naid i'r amlwg:
Wel, dyna fe:—ryfeddawl fraint!
A wel'soch faint yr hwdwg!

Fe roddodd naid adwythig
Fry uwch y donn mewn mawrddig;
Ond trwy yr eigion, etto 'nawr,
Y bratha 'r cawr mileinig.

Y mae 'n dri phwys o'r lleiaf,—
B'wyf gynnil iawn rhag anaf:
Os daw y llangc yn dêg i dir,
Ar hwn yn hir mi syllaf.

Mae 'i rym a'i nerth yn cilio,—
Mae 'n bryd i mi ei dirio:
Y mae e 'n nesu at y làn,
Arafwyf! gan ymrwyfo.

Fe'm gwelodd! aeth fel gwennol
Yn ôl i'r pwll yn wrol:
Ond fe gaiff brofi, er fy nghlod,
Ar fyr ei fod yn farwol.

I'r gro myfi a'i tynnaf,—
Cerdd atto, was, yn araf,
A chymmer afael dêg dros ben
O'i gragen, neu mi'th grogaf!

Wel, dyna fe mewn dalfa,—
Mae ganddo safn erchylla'!
Nid oedd yn rhyfedd, hyn sydd wir,
I'r filain hir ryfela.

---

## ENGLYNION,

Yn glod i Lyfr Cymraeg, a elwir RHIFYDDIAETH YN RHWYDD-ACH, gan y Parch. E. Lewis, Cilgwyn, Ceredigion.

GYMRY, down a rhown yn rhydd—i Lewis
 Oleuaf fawl beunydd:
Ar RIFYDDIAETH daeth i'n dydd
Gwawl addysg fel goleuddydd.

Yn ein hen iaith ein hunain—y gwelir
Y gwiwlwys lyfr cywrain;
Y gwaith cu ac eitha' cain,
Saif yn bur fel mur mirain.

Nid uniawn am ddawn neu dda ddysg—y trown
At estroniaid gwaelddysg,
Ar daen pan y mae'n ein mysg
Hygar roddion goreuddysg.

A gladdwn ni'n goleuddysg,—i chwilio
A choledd Saesonddysg?
Harddach a dwysach yw dysg,
Gwiw ammod, fo'n ddigymmysg.

Mae dynion llym eu doniau—yn ein gwlad,
Dynion glew eu pennau;
Ein gwarth yw myn'd o'n parthau
I ddilyn peth ddeil ein pau.

Digaeth RIFYDDIAETH sydd foddion—i ddyn
Feddiannu dysg wiwlon
Am waith hardd-deg, iawndeg, Iôn,—
Am y sêr a'u mesuron;

Am yr haul araul eirian,—y lleuad,
Gorph lliwus goreulan,
A'r planedau talpau tân
Neu berlau y ne' burlan.

A'r llong, sy'n myned er lles,—yn loywdeg,
I wledydd y twymwres,
GWYBODAETH a wnaeth yn nes,
Hardd arwydd, ei ffyrdd eres.

Lles mwyngu o fedru fydd—mesur cae,
Mesur coed neu wèlydd,
Er gweled ar ei g'wilydd
Sawl fynno'th dwyllo, un dydd.

Cufraint a fydd cadw cyfri',—yn lewgall,
Gyflogau a threthi,
A'r gasgen,[a] yn wr gwisgi,
Bwrw ei swm a'i holl bris hi.

A bwrw faint yn iawnbur a fydd—i'r gof,
Wr gwiwfwyn a chelfydd,—
I'r ceibiwr,—ac i'r cybydd
Na ry' am ddim aur am[b] ddydd.

Eithaf iawn i'r *wraig* hithau,—gu wiwfron,
Lân gyfri, 'i phryniadau,
Cur i'w gŵr, y câr gorau,
Cyrchu 'r corph i'r carchar cau.

---

*a* Y gasgen ymenyn. *b* Dros.

U

## CWLWM PRIODAS.

Cwlwm yw sy'n gwneyd *un* calon—o ddwy,
A'i ddeall yn union:
Arafwch, deg wyryfon,
Yn forau, a llangciau llon.

Da gwelwch fod dwy galon—o hynod
Wahaniaeth uwch digon:
Uno'n bur y ddwy'n un bôn
Sydd anhawdd wers i ddynion.

Cwlwm yw nad oes cilio—o'i afael
Nes dyfod i'r amdo:
Rhwydd ar awr y rhoddir o,
Ei ddattawd nid rhwydd etto.

Gwnïo enaid gwenwynig,—warth oer,
Wrth arall fo diddig!!
Astud iawn mewn stad unig
Cymmer bwyll rhag du-dwyll dig.

Gweled rhoi oenig wiwlan,—angylaidd,
Yng nghwlwm â llyffan,
Ar ei llw wrth allor Llan!
Dyna wedd led anniddan.

Noddi etto sy'n anniddan—i wr
Ryw anwarwyllt Satan,
A'i thymmer o lwyth Haman,
Trwy y tŷ yn taro tân.

---

# CLOD I BONT ABERCERDINEN,

Gerllaw Llanwnen, Ceredigion.—1820.

PONT Abercerdinen a geir yn un gywrain,
Un liwus, oleuwen, un lawen i'r wlad;
Pont ydyw baentiedig, un gadarn gauedig,
Arbennig, asiedig osodiad.

Pan ddelo llifogydd, oer ddiluw, ar ddolydd,
Bydd hon, heb ddihenydd, er gwiwfudd i gànt;
Y lanaf Bont lonwedd, ar afon bydd ryfedd
Ei gwedd, er holl fawredd llifeiriant.

Y dalaeth o hirbell a grynai rhag Grannell,[a]—
Ei phydew a'i phadell oedd fflangell a phlâ;
Yn awr ysgyrniged, ei gwaethaf bygythied,
Caf fyned i'w cherdded,—a chwardda'.

Oll union, fal llinyn, yw'r ffordd i Gaerfyrddin,
I waered â'r werin heb ddefnyn o ddwr;

---

a Enw yr afon ar yr hon y mae'r bont yn sefyll.

O weled fath wèlydd o'n blaen mor ysblennydd,
Rhown beunydd iawn glodydd i'n Gwladwr.[b]

---

## PENNILLION

**I Filgi o'r enw Topper, eiddo J. N. Williams, Yswain, Castle Hill, Ceredigion, yr hwn wrth redeg a gwympodd yn farw yn ddisymwth ar y maes, trwy niweid tufewnol, ac a gadd ei gladdu ar y man, ar y dydd cyntaf o redegfa ymorchestol milgwn o eiddo gwahanol Foneddigion o gymmydogaeth Aberystwyth, a gymmerodd le yn Hydref y flwyddyn 1825, ar fynydd-dir[a] Siôn Quilt, Llanarth, Ceredigion. Yr oedd y Milgi hwn wedi ennill y dydd ym mhob ymdrechfa y bu ynddi erioed.**

Fan hon y mae 'n gorwedd yn dawel dan gudd
Glew Filgi fu hoenus, fu ddewr yn ei ddydd:
Ei enw oedd Topper,—fe ddaliodd gan' waith
'Sgyfarnog gyflymaf ar fynydd hir faith.

Ar Topper ni chariodd un milgi *erio'd*,
Ac angau a welodd mai *digon* ei glod;
Ac felly fe 'i t'rawodd, fel gallem ni gael
Ymryson f'ai tecach rhwng cwnach mwy gwael.

---

*b* T. H. Jones, Yswain, Neuadd-fawr.

*a* Y mynydd-dir hwn a gadd ei enw oddiwrth fwthyn unigol a aneddid, dro yn ol, gan ddyn tlawd o'r enw Siôn hugan (*coat*) yr hwn oedd wedi ei chlytio â dernynau brethyn o amryw liwiau, fel, gan ei bod yn tebygoli i *Gwilt* yn fwy nâ dim arall, y dygodd i'w pherchenog yr enw Siôn Quilt, ac i'w aneddle, Ty Siôn Quilt.

Pan ddelo 'sgyfarnog galonog ei gwedd
Un amser i bori yn agos i'w fedd,
Trwy 'i hesgyrn, yn sydyn, rhyw ddychryn a
ddaw
Wrth feddwl fod Topper, er marw, gerllaw.

---

# ARAETH AC ENGLYNION,

**A draddodwyd ger bron Eisteddfod Aberhonddu, 1822.**

Y Mae yn llawenydd uwch geiriau i mi ganfod yma heddyw gynnifer o'm cydwladwyr wedi ymgynnull yng nghyd i goledd ac i gynnal iaith ein mammau,—i gefnogi yr iaith honno, at lwyddiant pa un y darfu i amryw o'n cydwladwyr, heb fawr olwg at eu helw eu hunain, ddefnyddio eu hamser a'u talentau i'w chadw yn ddihalog a'i thraddodi i ni yn ddigymmysg. Diolchwn i'r enwogion hynny, o bob oes, a safasant yn wrol o blaid eu gwlad a'u hiaith, pan oedd ond ychydig a barchent eu hymdrechiadau. Boed i'r Goffadwriaeth am Goronwy Owain, Lewis Morris, y Prydydd Hir, Owain Myfyr, Gwilym Owain, Iolo Morganwg, a ymwrolasant yn y ganrif ddiweddaf i gynnal ac amddiffyn ein hiaith, fod mewn haeddiannol barch gennym oll. O ddeutu can' mlynedd yn ol, neu ychydig yn llai, yr oedd cymmylau yn duo ar yr hen Gymraeg:—Yr oedd Barddoniaeth, yn

enwedig, yn gweled y bedd yn agor ei safn ac yn barod i gloi arni am byth. Ond bu rhai gwylwyr ffyddlon ar y tyrau. Diolched ein calonnau am eu hymgais,—am bob cynnorthwy a dderbyniwyd ym mhob oes, i gadw yn fyw iaith y Cymry, —iaith a ddylai, er llawer achos, gael mawr barch yn y byd. Un rhagoriaeth enwedigol a berthyn i'n hiaith glodfawr yw ei *hanymddibyniad*. I'w ffynhonell ei hun y mae hi yn ddyledus am y môr helaeth o eiriau godidog ag y mae hi yn eu cynnyg i'w choleddwyr. Y mae hi wedi rhoddi benthyg yn helaeth i ieithoedd eraill, heb echwyna ond ychydig iawn, os dim, ei hun: ac os n cha byth yn ol yr hyn a roddodd ar fenthyg, ni fydd nemmawr mwy gwag. Mae digon etto yn ei mwyn-gloddiau, nid yn unig i ddiwallu eisiau ei theulu ond i ddigoni cardotwyr estronaidd. Gan bawb o'r dysgedigion a goleddasant y Gymraeg, gyda'r un diwydrwydd ag ieithoedd eraill, y mae hi wedi bod mewn rhagorol barch. Mae tystiolaeth fod yr ardderchog ddysgawdwr hwnnw, Syr William Jones, ail i ba un mewn ieithyddiaeth ni welodd un oes o'r byd, yn cwyno na buasai yn ei ieuengctyd wedi llafurio mwy i ddysgu yr iaith Gymraeg, gan weled y buasai yr wybodaeth o honi o les neillduol iddo tuag at olrhain tarddiad ieithoedd y Dwyrain.

Peth arall a berthyn i'n hiaith ogoneddus yw ei *hynafiaeth*. Oddiwrth hyn y mae hi yn enwog iawn trwy y byd, ac mor anwyl i ninnau y gwir

Gymry. Y mae y Gymraeg yn adnabyddus mewn son, trwy yr holl fyd. Mae hi yn cael ei gadael yr iaith hŷnaf ag sydd heddyw yn fyw; ond pa un a ydyw hi yr iaith gyntaf a draddodwyd i ddyn, rhy anhawdd dywedyd. Hi fu unwaith yn lledu dros Asia, a chwedi hynny dros y rhan fwyaf o Ewrop, a thros holl Ynys Prydain Fawr. Bu gwybodaeth yn cael ei rhannu trwyddi i ieuengctyd boneddigeiddiaf yr ynys.

"Troja fuit; fuimus Tröes."

Trwy ddichellion, trwy frad, trwy ormesiadau, yr ydym ni wedi cael ein gyrru i ran fechan o'r ynys doreithiog; felly y bu,—felly y trefnodd rhagluniaeth; na rwgnachwn,—na ddaliwn eiddigedd. Yr unig beth ag ydym ni yn ei geisio, ydyw cael llonyddwch i hoffi, i garu, ac i amgeleddu yr unig drysor gwerthfawr ag mae ein tadau wedi ei gadw i ni trwy eu holl helbulon,—trwy eu holl boenau. Gymry! mae ein hiaith heddyw yn fyw! Boed i ni, yr ychydig sydd yn canfod ei hardderchogrwydd, yn teimlo ei melusder, ac yn hoffi ei phereiddlais, gael myned yn y blaen yn ein hymgais i'w chynnal, mewn distawrwydd ac mewn tawelwch. Nid yw y Gymdeithas hon wedi cael ei llunio er terfysgu heddwch nac er magu cenfigen; eithr i noddi, i feithrin, ac i gynnorthwyo yr hen Gymraeg,—ein mam. Mae ein calonnau yn dywedyd wrthym y dylem wneud y goreu drosti. Mae gwledydd estronol,—mae rhai o drigolion Ffraingc yn dymuno llwyddiant i ni yn ein gwaith: y maent wedi clywed am ein hen

*fam*, ac yn chwennych iddi fyw, gan ewyllysio yn dda i'w meibion a'i cynnorthwyant yn ei hen ddyddiau. Ond (y mae yn gywilydd dywedyd) y mae iddi elynion yn nes atti: mae rhai ag a *ddylent* ei charu, yn ysgyrnygu eu dannedd i'w herbyn. Er hyn, cymmerwn gysur: mae hen Gymru wedi gweled llawer o elynion oddiallan ac oddifewn; ond mae hi etto yn fyw. Mae llawer o'i phlant, wedi unwaith ymadael â hi, yn lle cwyno ac hiraethu ar ei hol, gan gofio ei mwynder a'i charedigrwydd, yn cywilyddio ei harddel. Maent yn ymadael â hen Gymru â iaith lân yn eu geneuau; ond yn dyfod yn ol, fel yr afradlon gynt, yn noethion, heb un iaith!! Teulu Dic Siôn Dafydd yw y rhai hyn: balchder yw eu dechreuad, a chywilydd fydd eu diwedd. Nid oes golled i Gymru am danynt; nid yw yn digaloni o'u herwydd. Mae gwedd yr Eisteddfodau—mae sain telynau—mae canfod ychydig o ffyddlon gyfeillion iddi, fel y gymdeithas hybarch ac anrhydeddus hon, yn sirioli ei hwynebpryd, yn ennynu tân yn ei mynwes, ac yn peri iddi gywir ffyddio mai gwir a lefarodd yr hen Daliesin —" Eu hiaith a gadwant."

Gymry! a gaiff ein hiaith fyned i'r llwch? yr iaith honno ag sydd wedi gwrthsefyll troadau byd, wedi marchog yn ddien ac yn ddianaf ar adenydd amser, wedi chwerthin yng ngwyneb gelynion, a beiddio eu holl fygythion. Mae Gwladgarwch, fel duwies degwawr, yn sefyll y funud hon o flaen fy llygaid, ac yn gwenu wrth

weled ein hymdrechiadau clodfawr o blaid yr hen Gymraeg. Dyna hefyd yspryd Taliesin, wedi cyfodi o drigfannau y meirwon, yn amneidio arnaf i ail adrodd y geirau " Eu hiaith a gadwant." Gwelaf ef, â dwrn cauedig ac â braich estynedig, yn barod i drosglwyddo i lwch anghof bob gelyn i'r iaith honno, am ba un y rhagddywedodd efe y parhâi hi byth.

Mal y dywedais o'r blaen, yr oedd y Farddoniaeth Gymraeg, ychydig yn ol, ym mron myned ar feth; ond bu o hyd rai milwyr ffyddlon dros ein gwlad a'n hiaith; ac ar yr 8fed o Fis Gorphenaf, 1819, sef dydd yr Eisteddfod gyntaf yng Nghaerfyrddin, cyfododd haulwen newydd ar hen Gymru a'i hiaith. Ar foreu y diwrnod hwnnw gwelodd yr Awen, â hi yn glaf ar ei gwely, lewyrch newydd yn tannu trwy ffenestr ei hystafell. Teimlodd wres yn treiddio trwy ei holl aelodau; daeth yn ddisymmwth yn holliach; cyfododd, a gwisgodd wisgoedd ei gogoniant. O hynny hyd heddyw mae hi yn gwledda ar fyrddau pendefigion yr ynys. Mae bonedd y tir yn gwenu arni, ac yn ymhyfrydu yn ei chyfeillach. Er pan gwympodd Llys Ifor Hael hyd foreu y dydd a enwais, yr oedd yr Awen yn byw mewn bwthyn tlawd—yn bwytta bara haidd ac yn llymeitta dwfr. Galarwisg a welid yn ei hamgylchu; ond yr oedd o hyd yn cadw yn ei choffr wisgoedd ei gogoniant yn ddifrycheulyd. Ar foreu y dydd a nodais cyfododd yn gadarn, a llon yw ei gwedd hyd yr awr bresennol; ac mae

pob tebygolrwydd na chlafycha byth mwy. Mae yr Awen wedi priodi—wedi priodi âg anfarwoldeb. Mae ei phlant yn amlhau ac yn cynnyddu. Wele gynnifer o honynt o'm hamgylch, yn ieuaingc ac yn wridog fel ser y bore. Blant yr Awen! Feibion Anfarwoldeb! llwyddiant i chwi yn eich ymdrechiadau.

Iechyd a hedd boed ichwi—i gynnal
Gogoniant a mawrfri
Ein hen iaith anwylfaith ni,
Yn addas byth, a'i noddi.

Areulweis, ym mlaen yr eloch,—yr iaith
Wir ethol a harddoch,—
Cu uniawn byth y canoch,
"A dedwydd beunydd y b'och."

Bu 'n hiaith dan boenau eithaf—a g'lanastr
Gelynion ffyrnicaf;
Oer gethern! er eu gwaethaf
Arni 'n syw mae heddyw 'n haf.

Bu dy ben ar obenydd—yn glwyfus,—
Bu 'n glaf dy leferydd;
Ond o'r ne' mae 'n dwyre dydd
Etto unwaith it', Wenydd.

Trosti aeth cymmylau trwstan:—gweled
Mae Gwalia fach weithian,
Er mwynhau dyddiau diddan,
Ail oes i gu lais y gân.

Walia a'i hiaith bêr wiwlon—gu ethawl,
Er gwaethaf gelynion,
Byw fyddant, mewn llwyddiant llon,
Tra doniau, tir, a dynion.

Ddewisgoeth, fawrddoeth Feirddion,—er rhwystrau,
Eich rhestrawg helbulon,
Eich heniaith, heb achwynion,
Cywirwych waith, carwch hon.

Minnau â'm llaes ymennydd,—o'm henaid,
Ddymunaf ei chynnydd,
Yn effro, tra dalio 'm dydd,
I les hon a'r lwys Wenydd.

Gwell i mi yw gallu a maeth—y gerdd
Nâg aur y byd helaeth;
Im' bu win, o'm mabaniaeth,
Eirian ffrwd yr Awen ffraeth.

Iawn lais y bêr Awen lon—i f' enaid
Rydd fanna hyfrydlon:
E ga 'r rhai a garo hon
Fêl i'w yfed fal afon.

Yr Awen lawen ry' wledd—i Feirddion
Ar fwrdd y gynghanedd,—
Ciniaw hoff, sef cân a hedd,
Trwy gulfyd hyd dŷ'r gwaelfedd.

# AWDL

**Ar etholiad yr Awdwr i fod yn Fardd i Anrhydeddus Gymdeithas y *Gwyneddigion*, yn Llundain; 1819.**

YR Awen fau, eirian ferch,—wyd union,
Wyd anwyl ddewisferch;
Dyro, iawnfad dirionferch,
Gynnes syw, im' gân o serch,—

O serch, ac annerch i geinion—ddwyswych,
Urddasawl Brydyddion,—
I Gymdeithas, addas sôn,
Ddeheugu'r Gwyneddigion.

Os i'r glod o fod yn Fardd—eirianwych
Yr enwyd iselfardd,
Profwyf mai swydd pob prif-fardd,
Cain iawn hwyl, yw canu'n hardd.

Diammhur ganiad boed im' ar gynnydd,
Ffraethgu anian a ffrwythawg Awenydd,
Goleu i'm mynwes,—digwl ymenydd,
Bywyd diboenau a byd da beunydd,
I gynnal a dàl i'm dydd—y lwysfad
Bêr wiwgu alwad heb awr o g'wilydd.

Yr Awen wiwffur eirian a hoffais,
O'm mebyd yn iawn ei dawn adwaenais,
A myfyriadol yr ymhyfrydais
Yn y fwyn gywrain wiwfun a gerais,—
I'm dwyfron bu lon dy lais,—dy wiwlef,
Fain iawndda oslef, Fanon ddewislais.

Wrth ddarllen iaith wael grygwael y Groeg-
iaid,
Llwyr achwynion a llawer ochenaid,
Mawr iawn gwyno am yr Awen gannaid
A ddoi i'm mynwes oerddu â'm henaid;
Wylwn dan y pwn heb baid—am dani,
A hi yn oeri, ferch hoywen euraid.

A phob rhyw awr gyfan pan o'm poenau
Y cawn anadliad, acenwn odlau,—
Hyll bwl waith ydoedd yr holl blethiadau
Egwan, heb oreulan wiw reolau;
Etto i'm min gwin oedd gwau—yn llonydd
Yr hoywdeg gywydd ar hyd y caeau.

Gymdeithas addas o Awenyddion,
Chwi ŷch ddewisgoeth iawn fawrddoeth
Feirddion
O eurawg Wynedd, rywiogwiw union;
Chwi, ddwysgu degweis, ŷch ddysgedigion;
Gwyddoch chwi, mewn bri, o'r bron—hoil
fydrau
Ein heniaith orau uniawn a thirion.

Llwyddiant, beunydd, cynnydd i'ch amcanion
I gynnal ein hiaith, ddigwliaith gulon,
Oedd iaith dra addas ddoeth y Derwyddon
(Iesin ddiwaelbarch) a senedd Albion:
Iawn ich' o hyd yw chwennych hon—heb gêl,
A hygar arddel ei geiriau heirddion.

Y mwynweis hoywfyg, minnau a safaf
Yn wiwgain foddus ac yn ufuddaf
O blaid ein hiaith, bur rwyddiaith bereiddiaf,
Iawnfaith ei geiriau,—hon fyth a garaf,
A diwyd y dadweuaf—ei mydrau,
Ac yn ei rheolau ceinwiw 'r eiliaf.

Hir boed eu helwant i wyr bydolion,
Dwys aur ac ariant, dewis ragorion,—
Glandeg anifeiliaid, defaid dofion,—
Hyd gyrrau eu maesydd dâ grymusion,—
I *ninnau* boed *Awen* union—addfed,
A chael ystyried ei chu lais tirion.

Dilyn glwysgain dda fadiain ddefodau
Uniawn a didwyll ffyrdd ein hen dadau—
Euro cu addas rywiawg gywyddau,—
Chwareu y delyn a charu 'i diliau,—
Dwym oes addas, dyma swyddau—mwynlon
I bruddaidd galon a bair ddydd golau.

O bêr wiwdda sylwi bardd iselaf
Ichwi diolwch yn iach a dalaf,—

I'r Gwyneddigion, dynion di anaf,
Cymry o galon, dwysion dewisaf,
Da o'm henaid dymunaf—mewn iawn bwyll,
Yma 'n ddidwyll *Amen* a ddywedaf.

---

## ENGLYNION

**A adroddodd yr Awdwr ar y Giniaw yn Llanbedr, Ebrill 6fed, 1824, wrth dderbyn Cwpan Arian—"Gwobrwy ei gyd-wladwyr i Daniel Ddu o Geredigion, am ei fuddugoliaethau awenyddol yn Eisteddfod Dyfed, Medi, 1823."**

Dau fywyd i'r hylaw Awen,—yn ddiau,
A ddeuodd, is wybren,—
Un bywyd o surllyd sèn,
Ac ûn o hwyl fel cain heulwen,—

Un o haiarn anhywedd,—un arall
O aur ac anrhydedd;
Ceir 'nawr am gân, wiwlan wedd,
Dysglau arian disgleirwedd.

Marw ar diroedd Amerig,—gwir union,
Wnaeth G'ronwy[a] fawryddig;
Gado 'i wlad, mwyn dad, mewn dig,
Am le anial mileinig.

---

[a] Y Parch. Goronwy Owen.

Haul hoywdeg Cymru'n machludo—'n ddiwres
 Ar ddû oer dywyllfro!
Briw claf a gaf wrth gofio
Yr erchyllaf, drymaf dro!

Tad y Beirdd yn alltud y bu—o Fon,
 O fynwes hen Gymru;
Ni wyddys b'le 'n anneddu
Mae corph hygar y câr cu!

Gwalia, mawr yw dy gywilydd—heno
 Na hûn dy ben-prydydd,
Goronwy, gâr y Wenydd,
Yn ei wlad oreufad rydd.

Ar aden pan yr hedwch—uwch ei fedd,
 Iawnwych Fardd eirian-fflwch,
Awelon y nef, wylwch,
Yn lle 'i wlad, ar gell ei lwch.

Heddyw i'r sawl a'u haeddant—mae gwobrau,
 Mae gwiwbrid urdduniant;
Yr Awen, hoff lên, a'i phlant,
Boneddion bawb a noddant.

Y Cwpan arian eirioes—a gadwaf
 Yn gudeg trwy 'm heinioes;
Dianaf, wedi unoes,
I lawer â drwy lawer oes.

Disgyn y trysor dwysgu—yn arwydd
    I f' wyrion a Chymru
  I'r bêr Awen fwyn wenu
  Yn dawel ar Ddaniel Ddu.

Gwêl, Awen fwyngu, lewych—dy wobrwy,—
    Dadebra 'n fywiogwych;
  Yf lwyddiant, gogoniant gwych,
  Ganoes i Gymru geinwych.

Na attal—moes gerdd etto;—da weli
    Y dyled sy 'n pwyso;
  Pob bryn a dyffryn deffro;
  Gwin neu fêl dy gân a fo.

Dda Wenydd, bydd ddiddanwch—i lawer;
    Goleua dywyllwch;
  Pob rhinwedd hoff lânwedd fflwch
  Hyrwydda mewn careiddwch.

---

## GOLWG

**Ar yr Ysbryd Awenyddol yng Ngheredigion, 1823.**

Ceredigion, ceir dy agwedd—o bryd
    Rhyw baradwys geinwedd;
  Am win glân y gân, dêg wedd,
  Sychedir, syw iach adwedd.

Pob bryn a phob glyn o'n gwlad—gu weddus
Sy 'n gwaeddi am ganiad,—
A Beirddion mwynion a mad,
Wyr difyr, sydd ar dyfiad.

Un bwth ni chawn heb ieithydd—a chwiliwr
Iach hoywlais y Wenydd;
A chân geir ar ei chynnydd,
Yn hynaws dêg, nos a dydd.

Gwregys mynyddau grugog—a yrrant,
Yn wiwrydd a gwresog
Allan lwys gân—lais y gog
Dda hwyl, drwy 'n bro ddihalog.

Hardded yw llais y Beirddion—trwy gyrrau
Tra geirw Ceredigion;
Canant o Gapel-Cynon,
Yn hyfedr hyd Lanbedr lôn.

Gwelwch Ystrad-Meurig wiwlan—hoywfyg,
Lwys hafod mwyn anian,
Llonna' dir, yn llawn o dân
Eres yr Awen eirian.

Os Edward Rhisiard, rhosyn—y Dëau,
Sy 'n dawel oer briddyn;
Ei dra hoff yspryd, er hyn,
Ei hen annedd sy'n ennyn.

Aberystwyth sy 'n llwythog—o ddoniau.
O ddynion godidog;
Diau ceir yn flodeuog
Yma 'n gain emyn y gôg.

Hoff rad y ceir yn ffrydio—yr Awen
Fwyn rywiog, heb flino;
A byth yn ddidrai y bo
Llif anwyl ei llef yno.

Ei thoddi gan Areithyddion— a gaiff
Y gu hoffaidd galon;
Mae 'u doethder mor dèr â'r dòn
Ar fin y lân-dref union.

Syw ddien gymdeithas ddiwyd;—hoywlwys
Ei rheolau hyfryd;
A'i hyfwyn Lywydd hefyd
A geidw 'r rhai'n yn gain i gyd.

Diwyd yw Llwyn-rhyd-Owen—(dewiswaith)
A Llandyssul addien,
Y parth lle mae 'n ferw bob pen
O rywiog ffrwd yr Awen.

Llwydd gwiwlan i'r gân fwyn gu,—a'r Awen
Oreuwych, trwy Gymru;
A'i dawn a fo 'n ymdannu
I arllwys llên er lles llu.

# Y FERCH SYRTHIEDIG.

## YN CWYNO MEWN GWLAD DDIEITHR.

**Dychymmyger fod y Ferch wedi ei hudo o ffordd diweirdeb, ym mhell o fro ei genedigaeth, a'i gadael yn ddiymgeledd; fel y mae achos ofni fod cyflwr llawer o ferched Cymru, ag sydd yn myned i Lundain, heb berthynasau ganddynt yno i'w rhybuddio rhag y maglau melldigedig ac uffernol a osodir yno i'w rhwydo. Bwriad yr Awdwr wrth lunio y Gerdd hon oedd attal y Cymry i ganiattâu i'w perthynasau ieuaingc menywaidd adael eu gwlad, fel y gwneir yn rhy gyffredin, o leiaf yng Ngheredigion, a myned i dir estronol pan na bo ganddynt neb yno i roddi cartref iddynt hyd nes caffont sefyllfa, &c. Nid oes un testun ag a ddwg berthynas â dedwyddwch dyn, a all ofyn ystyriaeth fwy difrifol ar ran rhieni a pherthynasau, dan yr amgylchiadau crybwylledig.**

Trom y galon! tra 'r wy' 'n gweled
Fod fy mawrglwyf hyll cyn ddyfned,
Fel nad oes, mae 'n fawr fy alaeth,
Iddo, gwn, un feddyginiaeth;
Collais drysor gwell nâ 'r hollfyd;
    Trist yw f' artaith!
Darfu am obaith dewr fy mebyd:
Darfu 'r blas o weled anian
    Mewn gwedd iachus,
Ail i f' hoenus hwyl fy hunan.

Mi adewais dŷ 'm rhieni,
Annedd lawn o burdeb trwyddi,
Er rhoi son am heirdd rosynau,
Deurudd lân g'ai gân ugeiniau:

Och! mor hyll yw effaith balchder,
Mawr ei ofid,
Trwy aflendid try i flinder;
Gwnaeth i lawer dyn mewn du-frad,
Trwy gwymp mawrdrwm,
Wawd o'i gwdwm wedi 'i godiad.

Oll yn swrth myfinnau syrthiais,—
Annawseiddiol iawn y soddais;
Y mae'r adyn fu 'n fy hudo,
Heb dosturi, gwedi 'm gado:
Nid oes neb yn fy adnabod,
Gur adwythig!
Yn oer hyllig aua' 'nhrallod:
Enw oedd i'm clust mor aflan
Yn fy henfro,
Mae fe heno i mi fy hunan!

Trwm yw f' oerwae tra myfyriwyf
Ar yr adwyth ynddo 'r ydwyf:
Och! nid oes un brif-ffordd lydan
O'i dywyllwch i dd'od allan:
Am y baich o rydrwm bechod
Fu 'n fy maglu,
Gwawd wynebu hen gydnabod:
Dad a mam, mor anwyl ydych,
Ond rhy anodd,
Oernych adrodd, arnoch edrych.

Trom y galon! tra 'r wy 'n gwilied
Rhag i neb o Gymru 'm gweled,
Er rhoi hanes i'm rhieni,
Wnai i'w calon dirion dorri;
Sef i'm parch fyn'd yn ysglyfaeth
    Gan fab Suddas
Ar fro diras oer fradwriaeth;
Lle mae ffyrdd i dwyllo merched,
    Nad all mwyndra
Rhywiog Walia eu rhagweled.

Cof o'r llwybrau, mannau mwynion,
Rodiais gynt mewn helynt hylon
Yn ngwlad dêg fy ngenedigaeth,
Bro y mêl, a bair im' alaeth!
O mor dirion dy fwynderau
    Bêr anwyldeg
Glydfwyn hydeg wlad fy nhadau;
Dedwydd yno ydyw 'r enaid
    Na wêl warthus
Drais truenus tir estroniaid.

O na chawswn rag-rybuddion
O'r erchyllaf gas ddichellion
A arferir, o wir fwriad,
Yma i ddeifio bri 'r amddifad!
Rhai o'm rhyw fy hun, yn henaidd,
    Gais, i'n twyllo,
Waith i'w dwylo eitha' diawlaidd,

Gan roi moddion brad i'n meddwi,
I'n rhoi 'n 'sglyfaeth
Ammhur driniaeth—mawr drueni!

Dacw 'r ffordd sydd tua Chymru
Union wiwber yn wynebu;
Honna 'n bur a deithiais yma
Heb un brychni 'n oerni arna':
Ond fe giliodd pob siriolwres
Tra nawseiddwych,
Iach a mwynwych, och! o'm mynwes:
A dylifodd diluw afon
Galar oerfaith
Drostwyf ganwaith—dristaf gwynion!

Yma 'r ydwyf wedi 'mrwydo
Ym mhwll anfri, 'mhell o henfro
Cymru wiwdeg, mewn camrodiad;
Ddoe yn ôl ni ddaw er galwad:
Pe 'n fy mherchen, rhown, ar ennyd,
Olud India
Am ollyngfa o'm hyll ingfyd,
A chael bod yr hyn a fuais
Mewn gwlad hawddgar,
Oreu daear, a adawais.

Dduw 'r tosturi! Geli gwiwlan,
O! iawn ogwydd i un egwan
Dy glust tyner, Ner, yn wiwrydd:
Eiddot ti yw'r galluogrwydd:

O dyfeisia, i fy arbed,
Imi etto,
Er im' wyro, ryw ymwared:
Gelwi di i'th nawdd yn ddibaid
O'u ffyrdd tristaf,
Frawdol wiw-Naf, afradloniaid.

At fy ngheraint gyrr angylion
I roi 'm hanes i'r rhai mwynion;
Drwy eu henaid gyrr dosturi,
Gwyniau parod, gan eu peri
I dd'od attaf i fy nattod
O fy 'n'rysni,
A 'nhrueni sy'n orhynod,—
A'm dwyn etto 'n dra dymunol
I'm bro lwyswedd,
Iawnwiw degwedd, enedigol.

Arglwydd, nertha hwynt yn wyrthiol
Dan eu gofid, wŷn gauafol;
Rho i minnau, oreu mwyniant,
Wedi f'oerwarth, edifeiriant,—
Cei o galon am fy ngwared
Fythol fawrfri
Eurgu genni', Iôr gogoned,—
Cei o ffyddlon union enaid
Fawl gwresocaf,
Dad tirionaf, Duw trueiniaid.

# HUNAN-YMDDIDDAN Y BARDD

**Ar ben Clochdy Eglwys St. Paul, Llundain, 1814.**

MAE'r wybren laswen lwysiach,—oreuliw,
 A'r haulwen yn loywach ;
Dwyn einioes mae 'r dynionach
Obry'n y byd fel brain bach !

Ai dynion a adwaenaf,—neu forgrug,
 Yn fawrgron haid gasaf ?
Yr uchel a'r iselaf
'Nawr unwedd eu gwedd a gaf.

Sâl yw eu drych isel draw ;—y gwaelion !
 Gwelaf hwynt yn gwibiaw ;
Rhai yn rhedeg—rhai'n rhodiaw,
Druain bach, gan droi'n y baw.

Anferth eu trafferth a'u trin,—holl lafur
 A llyfed y werin—
Dall gariad y llu gerwin,
A'u blas at y cyfoeth blin !

Gwiw-Ner ! Ai dyma'r gwenyn—a hedant
 Yn heidiau di-derfyn,
I'r ymladdfa, sathrfa syn,
Am olud ac aur melyn.

Y fan hon yn fwyn o hyd,—(wych urddas,)
Y chwarddwyf trwy 'mywyd,
Heb orphen, am ben y byd
Egwanfalch, a'i rwysg ynfyd.

---

# MYFYRDOD

### WRTH WELED ADERYN BACH YN GWNEYD EI NYTH.

Aderyn bach, mor gryno
Dy nyth yr wyt yn gweithio!
Nid oes un Plas o eiddo neb
Yn gwell gyfatteb trwyddo.

A fuost ti'n ymholi
A dyn y ffordd i'w threfnu,
A chanddo ef y cynnil waith
Dros amser maith yn dysgu?

Nid offer celfydd gwiwlan,
O ddyfais dyn cywreinlan,
Allasai roi ar blyg y blew,
Mor lwys, mor lew, â'th hunan.

Ar ddeall pwy roes iti
Bydd eisiau 'r gwaith a wneli?
I ddarpar tŷ, a'r haf ar bwys,
Pwy fu 'n dy ddwys gynghori?

Ni wnaethost erbyn gaua'
Un annedd o'r fath yna
Yn darian glân, aderyn glew,
Gan ofni rhew ac eira.

Doethineb glân Rhagluniaeth
Roes iti ragwybodaeth
Fod ar dy gyfer deulu gwael
Yn gofyn hael gynhaliaeth.

Mor glyd y gwnai dy wely,
Y mwswn sych gan gasglu,
A'r gwlân wrth ochrau llymion llwyn
Wnai'r ddafad fwyn ei golli.

Mân bluf a rhawn ar hynna
A roddi 'n llen wresoca',—
A'i gwnelo'n gynnes, pob rhyw beth
Osodi'n bleth gywreindda.

Mewn braw pa ham y cili
I ben y llwyn yn heini?
I mi 'n ddi bryder, rhoddi cred
Na wnaf it' golled, galli.

O dychwel yn galonog
Yn ôl i'th wely gwresog,
A dwyn dy oll, aderyn gwan,
Nid wyf mor annrhugarog.

Mi 'th glywaf yn oerleisio,—
Taw, taw, 'r wyf fi'n ymado,—
A dere 'nol i'th dŷ ar naid,
Ni wnes ddim niwaid iddo.

Dymunaf, o fy nghalon,
Na welo llengcyn creulon,
Er peri iti fôr o wae,
Y màn lle mae d' obeithion.

Holl olud maith y ddaear
Nid cyd-bwys yw â'r galar,
Yn ôl diddymmu 'ch braint a'ch bri,
A deimli di a'th gymmar.

A pha'm, O pa'm mewn gwewyr
Y'ch rhoir mewn modd di ystyr,
Pan unrhyw elw ni cha dyn
Yn dâl o'ch gwŷn a'ch dolur?

Bâr anwyl, mor bur union
Y rhannwch eich gofalon,—
Pan un ar neges draw yr â,
Y llall a wilia 'n wiwlon.

Yn rhwydd deallwch amcan
Eich gilydd yn oleulan,
A phan un waith y caffo 'i weyd,
E gaiff ei wneyd yn fuan.

Eich gilydd ddewisasoch,—
A'ch ceraint ymadawsoch ;
Ac nid all dim o dan y lloer,
Ond angau oer fyn'd rhyngoch.

Os cwyd ymryson diles,
Anhardd, rhwng gŵr â'i gares,
Iawn ddysgent gan aderyn bach
Ddoethineb iach i'r fynwes.

---

## ANNERCH I LYGAD-Y-DYDD.

Lysieuyn glwys a dengar,
Sy 'n harddu wyneb daear,
Rhyw ddwys hyfrydwch mawr a'm medd
Wrth wel'd dy agwedd hygar.

Ti yw y cynta', 'leni,
A welais er ymholi,—
Cei am dy ëon yspryd mad
Roesawus ganiad genni'.

A deimlaist ddim amheuon
Ac ofnau, wawr fwyn wirion,
Wrth godi 'th ben o'r ddaear glyd,
O flaen dy gyd-gyfeillion ?

Anturiaist yn galonog
Fel cadben dewr galluog,
Yn dêg a hardd, wynebu 'r hin,
Pa un ai blin ai tesog.

O'th ol mae mil yn llechu,
Mewn braw, yn dwys ymgelu,
Rhag fod y gauaf oer ei naws
Yn para 'n traws-deyrnasu.

Mynega 'n dirion iddynt
Fod disgwyl mawr am danynt,
A gwed nad oes, trwy 'r dyffryn glân,
Nac eira mân, nac oerwynt.

O'u canfod mawr fydd balchedd
Yr anifeiliaid glanwedd,
A'r oen na phrofodd hwynt o'r bla'n,
A deimla lân orfoledd.

E fydd yn mawr ryfeddu
Wrth wel'd pob man o ddeutu,
O flodau gwynion oll yn llawn,
Yn hyfryd iawn olygu.

Prysurwch, lysiau glwysaf,—
E ddarfu rhew a gauaf,—
O eisiau 'ch d'od i doi ein tir
Rhyw hiraeth gwir a deimlaf.

Mil glanach, pan b'och ddibrin,
Eich gwawr a'ch gwên oriesin,
Nâ 'r gemmau sydd, yn rhesi llon,
Yn harddu coron brenin.

Prysurwch, lysiau mwyngu,
Daw 'r awel i'ch cusanu
Yn desog bêr; a gwyn ein byd,
Mae hyn o bryd yn nesu.

Mor hyfryd fydd, y borau,
Cyd-rodio hyd y caeau,
A gwrando cerddi llu y llwyn,
I'r Awen fwyn a finnau.

---

## DYN.

Pan y chwilia fy myfyrdod
Beth yw dyn, fe 'm lleinw syndod;
"Pridd o'r pridd," llwyr wael, ac etto
Anadl Duw byth fywiol ynddo!

Egwan deithiwr dyffryn adfyd,
Ac etifedd gwlad o wynfyd:
Llwch o'r llwch, ac etto 'n wiwlan
Llun a delw Duw ei hunan!

Un dan fynych ddwyfol gerydd,
Un i Nâf yn hoff garennydd,
Un sy 'n yfed dyfroedd trallod,
Un mae etto 'r Ne' 'n ei warchod.

Un uwch pob creadur arall
Mewn amgyffred, cof, a deall,
A'r holl harddwych greadigaeth,
Hynod sôn, at ei wasanaeth.

Un â'i ben yn syth i'r nefoedd,
Lle mae Duw â'i lân weithredoedd,
Fel y dysgo mai i fynu
Dylai dyn o hyd olygu.

Un i farw—un anfarwol,
Ryfedd iaith, ond gwiredd dwyfol;
Un i'r graian i ddychwelyd,
Un i fyw mewn bythol eilfyd!

Un ryw awr nad oedd mo hono,
Un byth, byth heb ddiwedd iddo!
Un ymlaen a raid ymsymmud,
Un yn ol ni all ddychwelyd!

Un â'i rodiad yn funudol
Iddo 'n wir o bwys anfeidrol,—
Yn dynesu tua 'r nefoedd,
Neu uffernawl ddidrangc ingoedd!

Erddo dyn y bu'n gennadon
Teulu nef—y glân angylion;
Drosto daeth, dan ingoedd chwerw,
Aer y Nef i'r byd i farw!

Duw, dy waith yw 'r faith ffurfafen,
Haul a lloer, a ser yr wybren;
Beth yw dyn fel hyn am dano
It', o Lys mawrhydi, gofio.

Ystyr, ddyn, dy fraint ryfeddaf,
Ystyr gariad y Goruchaf,—
Boed dy ymgais byth i atteb
Amcan Rhoddwr dy fodoldeb.

Dal dy lygad ar y mannau
Lle mae 'n barod iti wleddau,—
Gochel dwyll, a gwed wrth ddiafol,
Gormod rhodd yw dyn anfarwol.

---

## CWYN Y CAETHWAS.

Trist, oh! trist yw cyflwr Caethion
Dan y fflangell eithaf creulon;
Dwyn y baich o hyll orthrymder,
Crio 'n drwm—ond crio 'n ofer.

Rhyddid sydd i bob creadur
Anwyl iawn wrth reol natur:
Nid yw'r carw gwyllt yn ddedwydd,
Ond pan rodia rhwng y coedydd.

Gwell gan adar fyw 'n y llwyni,
Ganol nos, er maint fo 'i 'n rhewi,
Nâ chael byw dan gronglwyd wresog,
Mewn caethiwed, gan oludog.

Onid, ynte, gweithred aflan
Gwerthu dyn yn gaeth am arian?
Dwyn ei ryddid, a roes Natur
Iddo 'n fwynlon gyson gysur.

Er mai Caethwas yw fy enw,
Gair a swnia 'n ddigon salw;
Etto mi a fedraf deimlo,
Gwaetha 'r modd, a medraf gofio,—

Cofio beunydd, gyda hiraeth,
Am fwyn wlad fy ngenedigaeth,
Cofio 'r bwthyn lle fy magwyd,
Cofio lled a hyd yr aelwyd,—

Cofio 'n fynych am gyfeillion
Boreu oes, i'r eitha' 'n ffyddlon,
Gyda 'r rhai y bum yn chwarau,
Mewn llawenydd, gant o weithiau.

Cofio hefyd, och! yn gysson,
(Hwn yw 'r cof sy 'n torri 'nghalon)
Am fy mam, fy nhad, fy mrodyr,
Ac un chwaer oedd eneth ddifyr.

Ca'dd y teulu bach eu dala
'N garcharorion, gan fawr dyrfa,
Ar un bore, gyda 'n gilydd,
Pan oedd bradwyr yn ein bröydd.

Ein rhieni oent mewn oedran,
Ac ni chaid am danynt arian,
Felly cawsant hwy arbediad;
Gyrrwyd ninnau tua 'r farchnad.

Gwerthwyd ni, er gwewyr diball,
Un i hwn a'r llall i arall;
Och! i bell wahanol lennydd,—
Byth ni welwn mwy o'n gilydd.

Daeth fy mam, er maint ei hoedran,
Tua 'r llong lle 'r oedd fy nhrigfan,
I fy ngweled, cyn im' hwylio
Tua'r wlad heb gyfaill yno.

Daeth i roddi 'r olaf ffarwel,—
Daeth â'i bron yn ddigon isel:
Er tylawd, nid llai ei theimlad
Nag Arglwyddes uchel rodiad.

Ebe hi, "Fy mhlentyn tirion,
Megais di yn dyner ddigon:
Och! erioed ni ddaeth i'm meddwl
Am fath awr o gymmaint gwnmwl!"

Tynnai 'i gwallt, oedd wyn gan oedran,
Ac i 'ngho'l hi daflai 'i hunan,
A dywedai, "Duw sy 'n gwybod,
Hyn o faich sydd imi 'n ormod."

Ni fu 'n chwaneg air o'n genau;
Oedd ry lawnion ein calonnau,
Syrthiodd hon yn hollol farw;
Mawl am wel'd y dyrnod hwnnw.

O! na th'rawsai Awdwr anian
Yr un modd y teulu 'n gyfan,
Yn yr awr y daeth y trawsion
Ar ein gwarrau ni, rai gwirion.

Sut mae 'nhad! ai byw yw hwnnw,
Wrtho 'i hunan fel rhyw ddelw?
Am ei blant yn cwyno 'n afiach
Heb gael byth eu gweled mwyach!

Sut mae'm chwaer o dyner galon,
A'm cysurai dan ofidion:
Collwn waed fy nghalon drosti,
Am yn rhydd gael gwel'd ei rhoddi.

O! fy mrodyr, ddau anwylaf,
B'le r ych chwi mewn gwewyr chwerwaf!
Cof am danoch a bair imi
Lawer noswaith uchel ochi.

Trom y galon, pan edrychaf
Yn y blaen trwy fywyd blinaf,
Heb un gobaith yn tywynnu
Trwy un cwrr o'r ddudew fagddu!

Tost yw cofio 'r awr atgasa',
Pan am dana' i 'r oedd bargenna,—
Un yn dal, a'r llall yn cynnyg,
Pris ar ddyn i Dduw sy'n debyg.

Och! nid oes i ni, rai caethion,
Un llys barn, i wrando 'n cwynion;
Goddef darnio 'n cnawd raid ini,
Fel rhyw foch ar daith i'r trefi.

Eiddo 'n meistriaid ŷm ni 'r Caethion,
Fel mae 'i ŷch yn eiddo 'r hwsmon:
Rhaid i hwnnw odde' 'r ierthi,
Rhaid, er dyfned byddo 'i 'n soddi.

Nid dros flwyddyn mae'n gwasanaeth;
Nagê 'n wir, ond etifeddiaeth
Ydym ni a'n plant a'n hwyrion;
Cofio hyn sy 'n dryllio 'r galon!

Yma 'r ydym, haid o honom,
Ag un nos drag'wyddol arnom,
Och! heb ddisgwyl gŵyl na gweled
Terfyn byth i'n hyll gaethiwed!

O! Grist'nogion,—dyna 'r enw
Wrth yr hwn maent yn eich galw,—
B'le mae Crist yn rhoi gorch'mynion
I orthrymmu neb-rhyw ddynion!

Clywais hanes fod yr Iesu
'N esmwythâu ar lawer teulu:
A oes ffordd i fod yn Gristion,
Heb dynerwch yn y galon?

Elai Crist ar ebol asyn
Clywaf son, i wel'd cardottyn:
Nid oes son am Grist yn prynu
Neb yn gaethion, i'w was'naethu.

Crist a erchodd ichwi wneuthur
A phob perchen dynol natur,
Fel y mynech iddo yntau,
Yr un ffunud, wneyd i chwithau.

Yr Efengyl a anfonwch
Dros y môr, mewn mawr dynerwch;
O anfonwch gyda honno,
Ar gri 'r Caeth, ei ryddid iddo.

# MARWNAD

## EI FAWRHYDI SIOR Y PEDWERYDD.

**Bu farw, 1830.**

MAE 'n bryd dyrchafu criau
Galarus, o'n heneidiau,
  Mewn briw annedwydd:
Ar ol ein Brenin ffyddlon,
A'n llywodraethai 'n dirion,
  Sior y Pedwerydd:
Mae 'n Llyw, o olwg pawb o'r byw,
  Yn isel orwedd,
  Mewn egwan agwedd,
  Yn olaf annedd
Wael ryfedd dynol-ryw:
I Brydain fawr ei thrallod,
Llwyr drwm y dyrnod yw:
Pob rhan, o'n hardal dêg sydd dan
  Ddoluriau tristaf,
  Am Bôr hawddgaraf;—
  Dan alar dwysaf
Mae'r gwychaf gyda'r gwan,—
Blinderus gur a thrallod
Gorhynod yw ein rhan.

Oedd un a garai heddwch,
A hyfryd bêr dawelwch,
  Trwy 'r byd ehelaeth:

Ni thynnai ef y cleddau
O'r wain heb gywir eisiau,
I gospi bariaeth;
Ond llef y trais pan glywai ef,
Rhoi 'i arch yn ffyddlon
I'w ufudd weision,
A aent dros eigion,
Dan union nawdd y nef,
I ffrwyno 'r gelyn gwallgo',
A dryllio muriau 'i dref:
Llaw gwŷr Britannia, fronnau dur,
A barodd gryndod,
Ac ing a thrallod,
I fyrdd o'r Ffrangcod,
Drwy gafod drom o gur,
Gan ddwyn eu ffrost a'u balchedd
I stad iselwedd, sur.

Pan fynnai Bona boeni
Hen 'Spaen, gan ddwyn trueni
Yn frwnt trwy honno,
Anfonodd Sior ei filwyr,
Lu o galonnog lân-wyr,
I'w chynnorthwyo:
A bu, trwy 'r bröydd dywydd du,
Gwaed mil yn ffrydio,
A meirch yn cwympo,
A threfi 'n fflamio,
Yn tanio 'n wyllt, bob tŷ,—
Gwŷr Ffraingc yn wyneb-dduo,—
Britannia 'n llorio 'u llu:
A bydd tra dalio haul y dydd,

Am gâd Victoria,[a]
A Salamanca,[a]
Fel am hen Droia[b]
Wir goffa rhwydda', rhydd,—
Clod Brydain ym mhob genau
A Ffrainc mewn briwiau 'n brudd.

Pan glau ddychwelodd Bona
O helbul ynys Elba,
Lle 'n gaeth e'i dodid,
I roi dan draws-arglwyddiaeth
Holl Ewrop fawr ehelaeth,
A thannu gofid;
Ein Sior, anfonai'n fwyn dros fôr
Lân dyrfa wiwlon
O wŷr grymusion
A fuont ffyddlon,
Weis purlon, dros eu Pôr,
Mewn gofal dwys wladgarol,
Ystyriol am ei 'stor:

---

a Trefydd yn Spaen.

b Troia (*Troy*) yn Asia, sydd hynod am ei hir barhad i wrthsefyll y gwarchae a wnaed arni gan y Groegiaid. Parhaodd ddeng mlynedd. Mae gwarchae Troia yn destun un o'r caniadau godidocaf yn unrhyw iaith. Mae cerdd Homer, a elwir yr ILIAD, yn rhoddi llawn hanes am y rhyfel hwn. Yr achos o'r rhyfel oedd i Paris, mab Priam, Brenin Troia, gymmeryd trwy drais i'w feddiant ei hun, Helen, gwraig Menelaus, Brenin Lacedemon, â'r hwn yr unodd holl Benaethiaid taleithiau Groeg, i adferyd ei wraig.

Draw bu, yn Waterlŵ[c] 'r dewr lu
Yn rhoi dialedd
Hyd at ddigonedd
Ar blant y cabledd,
Nes gwel'd eu diwedd du;
A Ffraingc yn cael gostyngiad
A phlygiad ar ei phlu'.

---

c Ar ol diangfa Buonaparte o Ynys Elba, yn Mawrth, 1815, galluoedd Ewrop a unasant i'w ddiorseddu. Yn glau ar ol i Bona osod ei hun, unwaith yn rhagor, yn Llywydd ar deyrn-gadair Ffraingc, deallodd fod yn rhaid iddo ei chynnal yn erbyn oddeutu deg can' mil o wyr arfog gwahanol wledydd. Ei barottoadau i gyfarfod y cyngrair hwn a ddechreuasant oddiar y funud y gosododd ei hun ar yr orsedd. Trwy ymdrechiadau mawrion, ac yng ngwyneb gofalon dirif o wahanol natur, yr oedd ganddo erbyn dechreu Mehefin, (er mai ym Mawrth y dychwelodd o Elba,) 375,000 o wyr dan arfau. Ar brydnawn yr 11 o Fehefin gadawodd Paris, gan waeddi wrth fyned i mewn i'w gerbyd, "Yr wyf yn myned i fesur fy hun yn erbyn Wellington." Blucher, Pen-tywysog lluoedd Prwssia, oedd a 100,000 o wyr o dan ei lywyddiaeth yn preswylio oddeutu Charleroi, Namur, &c.: a Wellington, dan law yr hwn nid oedd ragor nâ 75,000, a dim rhagor nâ 35,000 o'r rheiny yn Seison, (y gweddill oeddynt Hanover-iaid, &c.,) oedd yn llettya yn Brussels. Yr oedd Wellington yn aros yn Brussels yn hollol anwybodus o ddynesiad Buonaparte hyd 6 o'r gloch prydnawn y 15fed, ac hyd yn oed y pryd hynny, yr hysbysiaeth oedd mor ansicr, nes y darfu i Wellington, a llawer o'r swyddogion dano, gynnyrch i ddawns-gyfarfod o eiddo Duges Richmond. Yn nghanol y llawenydd hwn, swn gynnau rhyfel a darawodd ar glust Wellington; ac ar ganol nos, y *drwm* a gurodd i ryfel trwy heolydd Brussels. Yr oedd Napoleon, er boreu y 15fed, wedi bod yn curo ar Blucher, yr hwn oedd wedi cilio yn ôl, mewn trefn dda ac heb

E gafwyd yna'n gyhoedd
Dawelwch trwy 'r ardaloedd,
A bloedd llawenydd.—
Y cledd i'r wain dychwelodd,
Ac yno yr arosodd
Hyd heddyw 'n llonydd.—
A hon, ein hynys liwus lon,
A ga'dd ar fyrder
Ei phlant o bellder
I'w mynwes fwynber,

---

nemawr niwaid, i Ligny ac Amand, lle yr oedd yn barod i dderbyn ymgyrch Napoleon. Oddeutu hanner dydd yr 16, Napoleon oedd mewn petrusder pa un i ruthro ar Blucher yn Ligny, ynte Wellington yn Quatre Bras, lle yr oedd efe a'i fyddin yn awr wedi dyfod. Ond penderfynodd Napoleon, oddeutu 3 o'r gloch prydnawn, ymosod ar Blucher, ac ar yr un amser, Ney, un o Gadfridogion Napoleon, â 45,000 o wyr, a ruthrodd ar Wellington. Y Cadfridog Prydeinaidd a ymladdodd yn wrol dan anhawsderau rhyfeddol, ac ar ol dydd gwaedlyd, nos a'i cafodd yn feddiannol ar Quatre Bras. Blucher a ymladdodd frwydr mor ddewr, ond etto lai llwyddiannus. Blucher o'r diwedd a giliodd yn ol ar yr afon Dyle, tua Havre, ond efe a guddiodd ei symmudiadau mor fedrus a chywrain fel na wyddai Napoleon hyd hanner dydd y 17 pa ffordd oedd efe wedi ei chymmeryd. Napoleon, wedi deall i ba le yr oedd Blucher wedi ymgilio, a anfonodd Grouchy, gyda 32,000 o wyr ar ei ol, ac aeth ei hun yn bersonol i Quatre Bras i ymosod ar Wellington, mewn lle nad oedd yn debygol y cawsai un cynnorthwy gan Blucher. Ond mor gynted ag y deallodd Wellington i Blucher wynebu tua Havre, efe a roddodd orchymmyn i gilio yn ol o Quatre Bras yn ol y dealldwriaeth ag oedd rhyngddynt i gadw yn agos at eu gilydd. Yr oeddid wedi clywed Wellington yn dywedyd os byth y byddai galwad arno i ymddiffyn Brussels, yr ewyllysiai ymladd ar faes Waterlw; ac efe yn awr a

Yn ol dros dyner donn:
Ca'dd llawer mam attaliad
I friw a brathiad bron.
Bu gwledd, ar fad gyhoeddiad hedd,
Mewn llawer bwthyn,—
Yr hen-wr penwyn
Wrth gofio 'i blentyn
Droi 'n llengcyn, arall wedd,
Gan obaith gwel'd ail olau
Cyn myn'd rhwng barrau'r bedd.

---

ddychwelodd yno mewn llawn obaith o gael ei gynnorthwyo, yn y boreu, gan Blucher, o herwydd fod ei filwyr yn llawer llai lliosog nag eiddo Napoleon. Pob parottoadau wedi cael eu gwneuthur ar brydnawn y 17, Wellington a anfonodd at Blucher i hysbysu iddo ei fod wedi dyfod i faes Waterlw, ac y disgwyliai gynnorthwy yn y boreu. Blucher a addawodd gynnorthwy: y croes-ffyrdd o Havre i Waterlw oeddynt mewn cyflwr truenus i'w trafaelu, ac yr oedd y gwlaw yn llifo fel rhaiadr; ac os na ddaeth Blucher mor amserol ag y dymunasai, nid ei fai ef oedd hynny. Y nos cyn yr ymladdfa ofnadwy hon oedd wlawiog ac ystormus neillduol; ac yr oedd y milwyr, druain! yn ddigon parod i syrthio oni b'ai fod y gorfoledd o gael ennill gogoniant boreu dranoeth yn codi eu calonau i fynu. Ond nid oedd dim gofid ar Napoleon, ond yr ofn y byddai i Wellington barhau ei ymgiliad hyd at Brussels, a thrwy hynny ohirio y frwydr fawr hyd nes deuai y Prwssiaid ym mlaen; a phan wrth ddyfod i ben yr ucheldir, a elwir La Belle Alliance, y gwelodd efe Wellington ar yr ochr arall i'r dyffryn, ar ael y bryn, ei orfoledd oedd fawr iawn. "O'r diwedd, ynteu, o'r diwedd," meddai Napoleon, "mae'r Seison yma yn fy mhalf." Y dymhestl a arafodd yn y boreu, ond y dydd a barhaodd yn lled arw. Rhy faith fyddai ymdrechu rhoddi darluniad cywir o'r frwydr. Yr oedd Napoleon yn edrych trwy yspien-ddrych o ben yr ucheldir, a hen ffermwr wrth ei ochr. Yr oedd yn

I dalu parch i'n Brenin,
A feddai y fath fyddin,
Fawr ei gogoniant,
Brenhinoedd[d] y Cyfandir
I Lundain, fwyndeg lon-dir,
Dros fôr a ddaethant,—
A pha, hyfrydlon hinon ha'
Oedd 'nawr yr agwedd
Ar Brydain geinwedd
Yn ei gorfoledd,

---

tynnu *snuff* yn gyflym, a gwaeddodd allan ragor nâg unwaith, "Mor ogoneddus mae'r Seison yna yn brwydro." Ymladdwyd yn waedlyd hyd hanner awr wedi chwech prydnawn, heb le i ddeall pwy a enillasai y dydd. Gwelid yn awr, ar ol saith awr o ymladd, y Prwsiaid yn dynesu trwy y coed. Gwelodd Buonaparte ar un tarawiad llygad, os na allasai ef yrru Wellington o'r lle ag oedd efe wedi ei gadw trwy y dydd, fod y cyfan ar ben. Yn awr efe a barottôdd i'r eithaf: hyd yn hyn yr oedd efe wedi cadw ei warchawdlu (*Guard*), blodau ei fyddin, allan o'r ymdrechfa. Efe yn awr a orchymmynodd iddynt ruthro yn egnïol; a dywedir fod gweld y rhai hyn, wedi eu ffurfio yn ddwy golofn, a llawn bywiogrwydd a nwyfiant, yn ddigon i beri oerni redeg trwy waed unrhyw filwyr ond y Seison. Eithr mor egniol yr ymruthrodd y Seison arnynt fel y gorfu arnynt ffoi mewn eithaf annhrefn. Buonaparte a drodd yn awr mor wyned yn ei wyneb a'r eira, a dolefodd allan, "mae y cwbl ar ben," ac a farchogodd ymaith gyda'r brys mwyaf. Dilynwyd y Ffrangcod nes difetha nifer annhraethol o honynt.

*d* Ar ol darostyngiad Buonaparte, Ymerawdwr Rwssia ac Awstria, a Brenin Prwssia, a ymwelasant a'r ynys hon, i dalu parch i'n Brenin a'i wlad, am eu hegnion treulfawr a chanmoladwy i ddadymchwelyd gorsedd Napoleon, yr hwn yn ddiau oedd ddyn o alluoedd meddyliol ym mhell uwch cyffredin, eto y gormes-deyrn creulonaf yn yr oesoedd diweddar.

Wrth weled diwedd da
Ar ryfel oer ei ofid,
Sy'n gwneyd o'i blegid blâ,—
A'i chlod, yn rhyfedd îs y rhod,
Coronog Bennau
A diolchiadau
Yn eu geneuau
Ar bell iawn deithiau 'n d'od
I hon ein hyfryd felys
Wen ynys wych ei nôd.

Fel tad i bawb o'i deiliaid
Oedd Sior yn gywir danbaid,
Oreufad unben;
Ei fron oedd lawn haelioni,—
Pob gradd e fynnai noddi
A'i deyrnwialen:
Er bod, yn uchel iawn ei nôd,
Yn gwisgo 'r goron,
Yn gwybod eigion
Dysgeidiaeth[e] wiwlon,
Mewn llwyr eglurlon glod,
Yn isel ei dymherau
E fynnai 'n ddiau dd'od:
A'i fryd, yn groes i foes balch fyd,
Ei serchog eiriau,
A'i ddifyr ddoniau,
Ar fwrdd ei wleddau

---

e Sior y Pedwerydd oedd ysgolhaig nodedig. Ei ddysgeidiaeth, ei ffraethineb, a'i ymddygiad gwir foneddigaidd, a berent syndod i'r Cenhadon estronol, a ymwelent â'i Lys.

A wnaent galonnau 'n glyd;
Mor isel, etto 'n gyhoedd,
Yn ben Brenhinoedd byd.

Pob peth a f' ai 'n tueddu
At wir ddedwyddwch teulu
Ei deyrnas helaeth,
O galon fe annogai.—
Hapusrwydd pawb a hoffai
Ym mhob rhyw dalaeth:
Ei ran, a wnaeth i gaeth ddyn gwan
Draw yn yr India,—
Gan alw 'n daera'
Ar holl Ewropa
Mewn mwyndra ym mhob man,
I godi 'r Duon tenau
O'u loesau 'n wych i'r lan;
I wlad, hen Roeg yn fendith rad,
Gwir ryddid rhoddodd,—
Ei hiau fe dorrodd,—
Hael law o'i wirfodd
Estynodd megis tad,
O galon dwym ragorol
Ystyriol dros ei stad.

Er cymmaint ei ewyllys
I rannu dâ i'r ynys,
Daeth gwŷs yr angau,—
Ein Llywydd a drywanwyd,
Yn isel iawn fe 'i dodwyd
I blith ei dadau:

Ond tra, trwy galon dynion da,
Bo gwaed yn rhedeg,
Y deilwng anrheg,
O glod cywirdeg
Yn geindêg fe a ga,
Am wneyd ein henwlad dirion
Yn llawn o hinon ha',—
A'i mawl, a'i bri yn honni hawl
I wych anrhydedd,
A'i gael mewn gwiredd,
Trwy 'r byd yn rhyfedd,
Dda duedd, yn ddi dawl,
Lle bynnag dros ein daear
Mae'r haul yn gwasgar gwawl.

Bydd wych ein Brenin tirion
Trugarog,[f]—boed it' goron
Yng ngwlad Caersalem,
Lle mae y gwaredigion,
Ar hyfryd fynydd Sïon
Yn hwylio 'r Anthem.
A rhad, Duw'r hedd fo'n wledd i'r wlad,—

---

*f* Mae'n wir fod ein diweddar Frenin tyner yn treulio oriau hirion, i ddadleu dros y rhai a fernid i gael eu colli, cyn y dodai ei law wrth eu dien-lythyr *(death-warrant)*. Efe a fanwl holai yr holl amgylchiadau : byddai barod a gofalus wrth olrhain yr achos i osod yr ystyr goreu ar bob peth : ac eiriolaeth y Brenin a lwyddodd lawer tro i achub einioes wedi ei happwyntio i golledigaeth.

Na chaed gelynion
Byth mo'u hamcanion
I roi'n bendithion
Yn brinion trwy eu brad:
I ni boed rhoddwr breintiau
Hyd ddiwedd dyddiau 'n dad:
Pob un, trwy 'n hynys, liwus lun,
O! boed am rodio,
A'i fryd ar foddio
Duw ag sydd ganddo,
Y nerth o hono 'i hun
I gospi gwlad am bechod,
Uwchlaw awdurdod dyn.

---

## BREINTIAU'N GWLAD.

**Tôn—"God save the King."**

Mae 'n hynys lân fel gardd,
Mewn breintiau gwych yn hardd,
Frenines byd:
Britannia fawr ei chlod
Sy 'n uchel iawn ei nôd;
Ni welir gwlad is rhod
Yn well ei phryd.

Mae 'i 'n ynys hael a rhydd;
Ei dŷ i'r gwan y sydd
Yn gastell glân:

Y sawl a wnel ar hwn
Un ymgyrch i'w roi 'n dwn,
Daw arno gosp yn bwn
  A dŷr ei gân.

Caiff pawb addoli Cun
Yn ol ei ffordd ei hun,
  Heb ofn na braw:
Nid oes un Chwil-lys cas
Trwy 'n hynys fwyndeg las;
Byw 'r y'm mewn porfa fras:
  Rhown glod di daw.

Os oes rhyw dybiad drwg
Am danat,—os mewn gwg
  Mae'r ddeddf wrth raid,
Nid un neu ddau mewn brad
All ddwyn dy fywyd mad;
Mae *deuddeg* gwr o'th wlad
  Yn bur o'th blaid.

Mae nawdd ein deddfau 'r un
I wael, iselaf ddyn,
  Ag Arglwydd mawr:
Cyfrifa 'n Brenin fod
Ei ddeiliaid o'r un nôd
Er llai, er mwy eu clod,
  Y cul a'r cawr.

O'r palas uchel fry,
I'r caban isel, dû,
  Pob un a gâ,
  O dirion ofal, fraint
Yn gymmwys o'r un faint;
Byw 'r y'm mewn gwlad ddi haint,
  Dan Frenin da.

Os gelyn sydd yn bod
I ti, yn clwyfo 'th glod
  Trwy gelwydd cas,
Mae cyfraith fawr y tir
Yn nodded parod, îr,
I chwilio am y gwir
  A chospi 'r gwas.

Mae nawdd i ddawn a dysg
Yn hyfryd yn ein mysg;
  Annogaeth lân;
Mae rhai ar îryniau bri
Yn hir a wel'som ni
Yn byw fel dan y lli';
  Ein gwlad, cei 'r gân.

Mae rhyddid i bob dyn
Na fo â drwg ynglŷn,
  I'r eitha' 'n llawn,—
Ac os oes neb a fyn
Ryw ryddid mwy nâ hyn,
Y mae i mi 'n beth syn
  Os yw e'n iawn.

Os caethwas dros y donn
A ddaw i'r ynys hon
  O'i ardal brudd,
Pan sang ar hyfryd draeth
Britannia lawn o faeth,
Byth mwyach nid yw gaeth;
  Mae 'n hollol rydd.

Cyfododd hon ei llais
Yn gynta' 'n erbyn trais
  Caethfasnach dyn:
Mae myrdd yn Affrig draw,
Ag oeddynt dan eu braw,
Yn seinio 'i chlod heb daw,
  Am attal gwŷn.

---

## ENGLYNION

### I BONT NEWYDD LLANBEDR.

Bont union ar heirdd bentanau—têg lân,
  Ti gei glod o'n genau;
  Mawrwaith clyd, wyt gymmorth clau
Tra 'r dylif hyll trwy 'r dolau.

Bob darn wyt gadarn dy gydiad;—cywrain
  Dull cerrig dy seiliad:
Gwiw addurn yw 'th agweddiad,
Bur iawn glo, a bri ein gwlad.

Cam imi, wyr Cwmamman,[1]—mi welaf,
Beidio 'ch moli weithian;
Purddwys yw eich glwys waith glân,
Rhag dwr yn rhywiog darian.

Pont wiw hoff mewn pant yw hi,—a'i hurddas
Yn harddwch bro Teifi;
Bwa cam uwch llam y lli,'
A ffordd lon union ini.

Bont lydan gulan ei golwg,—mwynwawr,
O'r mynydd yn amlwg:
I'r Dref lân diddan hi'n dwg,
Oreu gwedd, ar ei gwddwg.

Cerddaf, er gwaethaf bygythion—llef oer
Llifeiriant yr afon
Aethus, heb ofnau weithion,
Ar iach dir, goruwch y donn.

---

[1] Cwmamman ym mhlwyf Llandeilo, Gartref-le y Maen-seiri.

# ANNERCH A BENDITH

## OLAF TAD I'W BLANT.

Yr wy 'n ymado, f' anwyl blant,
  I oerllyd bant y beddrod;
Yn teimlo 'r wyf y babell hon
  Ymron, ymron ymddatod.

Yr unig wres a deimlaf fi,
  Sydd attoch chwi, a'm Crëwr;
Nid oes dim hiraeth yn fy mryd
  Am swn y byd a'i gynhwr'.

Yn aros arnoch y bo gwlith
  Fy hon ddwys fendith olaf;
Yn dawel iawn y byddoch byw
  Dan nawdd y Duw Goruchaf.

O rhodiwch yn ei lwybrau Ef,—
  Rhydd ichwi nef yn wobrwy,
Y dawel fro, yr hyfryd fan,
  O wynfyd annhraethadwy.

A phawb o'ch amgylch byw mewn hedd
  Fo ichwi 'n wledd wastadol;
Dechreuwch yma hoffi gwaith
  Y nefoedd faith drag'wyddol.

Myfi sy 'n myned, teimlaf hyn,
  I wlad a glyn yr angho';
Dan aden Duw y b'och yn iach,
  Yr Arglwydd a'ch bendithio.

---

# HYMN.

## I'W CHANU AR DDYDD NADOLIG CRIST.

Dyma 'r dydd y ganed Iesu,
  Dyma 'r dydd i lawenhau;
Arglwydd ñef a ddaeth i brynu
  Dynol-ryw a'u llwyr ryddhau.

Gwelwyd Iesu dan ei loesau,
  Iddo preseb oedd yn gryd;
Bu yn wan, fel buom ninnau,
  Seiliwr nefoedd faith a'r byd.

Daeth o wlad y pur ogoniant;
  Gadodd wychder tŷ ei Dad;
Prynodd ef i bawb a'i carant
  Deyrnas nef yn rhodd, yn rhad.

Dyma gariad haeddai 'i gofio
  Mewn anfarwol gân ddi lyth;
Yn y cariad hwn yn nofio
  Boed fy enaid bach i byth.

## HYMN

### I'W CHANU AR DDYDD GWENER Y CROGLITH, SEF DYDD MARWOLAETH CRIST.

Cofia, f' enaid, cofia'r oriau
  Y bu Brenin nefoedd wen,
Crëwr moroedd, haul, a bryniau,
  Yn dioddef ar y pren.

Llaw allasai 'r haul dywyllu,
  Sychu môr, a llosgi tir,
Yn ymoddef cael ei thyllu!—
  O! ryfeddol gariad gwir.

Llaw allasai rwymo 'i rhwymwyr
  Obry 'nglyn anfarwol dân,
Yn rhwymedig gan ddirmygwyr
  Wrth y pren—O! f' Arglwydd glân!

Pan ddaw adre 'r rhai prynedig
  O'r anialwch maith ei wŷn,
Bydd am hyn annherfynedig
  Fawl i'r hwn fu'n Dduw a dyn.

Bydd adgofio'r clwyfau duon
  A ga'dd Iesu, Oen Duw Dad,

Yn melysu fyth yn gyson
  Eu caniadau peraidd mâd.

---

## HYMN

### AR SUL Y PASG, SEF DYDD ADGYFODIAD CRIST.

Dyma 'r dydd y cododd Iesu,
  Gan chwilfriwio barrau 'r bedd;
Dyma 'r dydd i orfoleddu,
  Ac i gadw sanctaidd wledd.

B'le, O fedd, mae'th fuddugoliaeth?
  Angau, b'le mae'th golyn cry'?
Daeth i wawrio ar ddynoliaeth
  Hyfryd lewych oddi fry.

Crist a ddaeth yn wir oleuni,
  Ac yn sicrwydd bywyd gwell;
Caf yn llawen adgyfodi,
  Ar ryw ddydd, o'r gyfyng gell.

Dan y gwys os rhaid im' orwedd,
  Yn y glyn dros ronyn bach;
Mi gaf ddiosg rhwymyn llygredd,
  Ac yn Nuw gyfodi 'n iach.

Codi 'n iach a hwylio'r aden,
  Rhwng y sêr i wlad y saint;
I ddyrchafu 'r gân ddi orphen,
  Yno byth uwch poen a haint.

---

## HYMN

### I'W CHANU AR Y SULGWYN, DYDD TYWALLTIAD YR YSPRYD GLAN AR YR APOSTOLION.

O TYRED heddyw, Yspryd Glân,
Ac arnom disgyn di yn dân,
Fel bo 'n calonnau celyd ni
Yn toddi gan dy effaith di.

O pura di 'n serchiadau oll,
A nâd i'n meddwl fyn'd ar goll;
A boed yn awr (O gwrando 'n llef)
Ein dymuniadau 'n un â'r nef.

Boed yma 'n nefoedd ar y llawr
I'm enaid i am ennyd awr;
Yr Yspryd Sanctaidd, dyro 'n gry'
Flaen-brofion o'r llawenydd fry.

Ffwythlona 'n dêg yr anial dir,
A dwfrhâ 'r eginyn îr;

Rho wiwdêg rym i hadau gras,
I ddwyn eu ffrwythau pêr i ma's.

---

## HYMN NADOLIG,[a]

Ar y Dôn a elwir Trefriw.

Henffych i'r dydd y daeth
Gwaredydd i ddyn caeth;
Byth iddo Fo, a ddaeth i'n bro,
Boed cân yn ffrydio 'n ffraeth:
O'r Forwyn Fair y daeth y Gair,
Y dydd goffâir o hyd:—
Rhown glod heb drai, daeth Iesu 'n chwai,
I wisgo clai, dros waelion rai,
A golchi bai y byd.

O! gariad hoff ei gael
Dros ddyn syrthiedig gwael!
Ei fath îs rhod, ni bu yn bod,
Mor hynod ac mor hael,—
Sef d'od o wlad gogoniant mâd,
O g'ol ei Dad, le dwys,
I oddef gwŷn, yn wael ei lun,
A myn'd dros ddyn, nid drosto 'i hun,
Y nefol Gun, dan gwys.

---

[a] Nid anghymmwys i'w chanu unrhyw amser arall.

Yr Iesu ar y pren
Oddefodd boen a sen,
Yn aberth gwiw, dros ddynol-ryw, —
Am hyn mae 'n byw yn Ben
Ar deulu 'r nef,—ac "Iddo Ef"
Mae cân a llef yn llon;
Ac yn ddiâu bydd i barhau
Y gân fwyn glau, heb byth lesghau,—
Boed im' fwynhau'r gerdd hon.

---

## HYMN

### I'W CHANU AR OL Y CYMMUN.

Yn coffa angau 'r Iesu 'nawr
Y bu dy weision, Arglwydd mawr;
Boed hyn o'n gwaith a'n dyled ni
Yn gymmeradwy gennyt ti.

Heb bwyso'n haeddiant, Arglwydd mad,
O maddeu, maddeu 'n beiau 'n rhad;
Anghofia oll ar gam a fu,
Ac ini rho dy heddwch cu.

Ein haberth hwn o glod a pharch
A gynnygasom 'nol dy arch,
Boed wrth dy fodd; a derbyn ni
Yn ebyrth sanctaidd hoff i ti.

O rho dy fendith,—rho dy ras,
Yn nerth i ffoi rhag pechod cas,
I'n parottoi 'n y fuchedd hon
I fyw 'n drag'wyddol ger dy fron.

---

## HYMN

### AR GARIAD CRISTIONOGOL.

O DYSGWN garu, fach a mawr,
Ein gilydd yma ar y llawr;
Can's caru fydd hyfrydol waith
Plant Duw dros drag'wyddoldeb maith.

Ein ffydd a dry yn fwyniant mad,
A gobaith gaiff ei chwblhâd;
Ond cariad a'i weithredoedd ef
A bery 'n wir tra phery nef.

Mewn gorfoleddus wlad ddi boen
Cawn garu 'n gilydd—caru 'r Oen;
A charu 'r Tad anfeidrol fyth,
Am roddion glân o rif y gwlith.

## HYMN

### AR GARIAD BRAWDOL.

Hedd, hedd,
Rhwng pawb Crist'nogion da y gwedd,
A chofiwn mai 'r un Tad a'n medd;
Mai tua'r bedd mae 'n taith, bob un;
Y galon gudd, O Gristion clyw,
Fe farna Duw,—na farned dyn.

Daw, daw,
Y ffordd yn haws i'r Gana'n draw;
Nid hardd gwel'd brodyr fyth mewn braw,
I gym'ryd llaw y naill y llall:
Angharaid a chenfigen ddu,
'N addasach sy i fagddu 'r fall.

---

## HYMN.

### ANRHYDEDD CRIST.

Crist, yr hwn sy'n anwyl genni',
Crist, yr hwn sydd imi 'n Ffrynd,—
Crist, yr hwn sy 'n tra-rhagori
Yn y wlad lle rwyf fi 'n myn'd,—

Crist, yr hwn sy 'n maddeu beiau,
  Crist, sy 'n achub rhag y tân,
Crist, yr hwyr, a Christ, y borau,
  Boed yn destun pêr fy nghân.

---

## HYMN.

CYMMYSG ALAR A GORFOLEDD PERERINION SION.

Ym mhell yr y'm o dŷ ein Tad,—
  Mewn anial dir yn byw,—
Ym mhell o'r lawen Gana'n wlad,
  A'i ffrwythau tég eu rhyw:

O dan y pwn, o dan y gwres,
  Yn ochain yma'n flin;
Ond daw yr awr y byddwn nes
  I'r ffynnon hoff ei rhin.

Fe dderfydd poen, mae 'n ffol tristâu,
  Fe dderfydd pob rhyw gur, —
Ar fyr cawn weled a mwynhâu
  Y wlad o wynfyd pur.

O rhodiwn yn y golau glân,
  Y deddfau roes ein Duw;
A daw y dydd o fythol gân,
  Ar dir gorfoledd gwiw.

Fel gweision gwir i Grist, ein Pen,
  O ffown rhag pechod cas;
A chawn o fewn y nefoedd wen,
  Ar fyr glodfori 'i ras.

Cawn yno wisg mor hardd â'r wawr,
  A thelyn hoff ei llais;
A chanfod y Jehofa mawr,
  A therfyn ar bob trais.

---

## HYMN

### I'W CHANU AR OL PREGETH.

Bendithia di, O Arglwydd mawr,
  Dy air yn awr a glywsom;
Fel dygo ffrwythau pur i ma's
  O fuchedd addas ynom.

Yn glod i'th enw sanctaidd di
  Bo'n rhodiad ni'n wastadol;
Ac o dy ras, dwg ni, ein Duw,
  I'th Lys i fyw'n drag'wyddol.

## HYMN.

### MYFYRDOD AR Y NEFOEDD.

Yn y nefoedd mae 'n gorseddu
  Y Jehofa mawr ei hun;
Dyma 'r lle mae 'r anwyl Iesu
  Roes ei einioes 'lawr dros ddyn.

Dyma 'r lle mae 'r ufuddolion,
  Rai a rodient gyda Duw,
Ac a gadwent ei orch'mynion,
  Tra ar ddae'ren yma 'n byw.

Dyma'r lle na enwir angau,
  Gofid blin, na chwerw loes;
Dyma 'r lle mae 'nawr filiynau,
  A fu 'n hir yn cario 'r groes.

Dyma 'r lle mae 'r gân ddiddarfod,
  Dyma 'r lle mae gwynfyd gwir;—
Yma caffom gyd-gyfarfod,
  Frodyr anwyl, cyn bo hir.

---

## HYMN.

**"Mi a ymdrechais ymdrech dêg, mi a orphenais fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd." 2 Tim. iv. 7.**

Yn erbyn rhwystrau lawer iawn,
  A byd yn llawn o gabledd,

Fy Nuw a gadwaf yn fy mryd,
  A'i gyfraith hyd y diwedd.

Ymdrechaf ymdrech hardd, gan ddwyn
  Y groes yn fwyn heb flino,—
A charaf Grist yn fwy nâ neb,
  Trwy 'mywyd heb ddiffygio.

Y ffydd a lân draddododd Ef
  A ddaeth o'r nef i'n dysgu,
A gadwaf gyda 'i ffyddlon blant,
  Er ymgais cant i'm dallu.

Yn well nâ chyfoeth daear faith
  Dewisaf waith yr Arglwydd,
Ac yna 'r yrfa 'n deg o'm tu
  Fydd yn terfynu 'n ddedwydd.

---

## HYMN.

### CYFIEITHAD O "OLNEY HYMNS."

Mae ffynnon lân, fy enaid cred,
O fron Emmanuel a red;
Caiff pechaduriaid oll yn glau,
Yn ffrydiau hon, eu llwyr lanhau.

I'r lleidr gynt, gorfoledd mawr,
Fu gwel'd y ffynnon hoff ei gwawr;
Yn hon c'es innau 'ngolchi 'n lân,
O'm holl bechodau, fawr a mân.

Yr anwyl Oen, dy aberth rhad,
Byth, byth ni chyll ei allu mad,
Nes llwyr waredu 'r Eglwys wiw,
Heb frychni'n llon a hardd ei lliw.

Er pan, trwy ffydd, y gwelais i
Y ffrwd a dardd o'th glwyfau di,
Am waredigaeth bu fy nghân,
Ac felly bydd hyd angau 'n lân.

---

## HYMN.

### CYFIEITHAD O "OLNEY HYMNS."

Mae anhawsderau cyndyn cas,
I'n rhwystro dd'od at orsedd gras;
Ond sawl a wel werth gweddi 'n llwyr
A gyrch at hon ar fore a hwyr.

Mae gweddi 'n dringo 'r ysgol wen
A welodd Jacob yn y nen,—
Yn ennyn ffydd a chariad cu,—
Yn dwyn pob bendith oddi fry.

Oll fel yr haul yn loyw gwna
Arfogaeth deg y Cristion da;
A chryna Satan oll yn flin,
Pan wêl y Cristion ar ei lin.

---

## HYMN.

### DYCHWELIAD YR AFRADLON.

Pwy yw'r blin Bererin acw
  Welaf yn ymdynnu 'n brudd,
Trwy 'r anialwch tua 'i artref,
  Yn bistyllog wlyb ei rudd?
Mae ei wisg i gyd yn garpiog,
  Y mae newyn yn ei wedd;
Gwelaf nad oes yn trigfannu
  Yn ei fron dufewnol hedd.

Clywch e'n llefain wrtho 'i hunan,
  "Dad, nid teilwng mwy wyf fi
'Fod yn fab, ond gwas a fyddaf,
  Os caf fod o fewn dy dŷ!"
Beth yw 'r hyfryd sain nefolaidd,
  Glywaf fry yn entrych nen,
Gan fil miloedd o delynau,
  Yn cyd-seinio uwch fy mhen?

Beth yw 'r adlais hyn a glywaf
  Ar beiriannau aur y nef?
"Teithia 'mlaen, Bererin egwan,
  Groeso, groeso tua thref,—
Mae trigolion gwlad goleuni
  Wrth dy wel'd yn llawenhau, —
Y mae gwisg yn barod iti,—
  Daw dy Dad i'th gwrdd yn glau.

Dos ymlaen, Bererin egwan,
  Trwy 'r diffeithwch dos ymla'n;
Er mor athrist yw dy olwg,
  Try dy alar etto 'n gân:
Llygaid Nef sydd ar dy gamrau,
  Teithia 'mlaen, Bererin gwan;
Ronyn etto ffrydiwch, ddagrau,
  Chwi a sychir yn y man."

Pwy a wela' i 'n dod â gwisgoedd
  Hardded â goleuni 'r wawr,—
Yn cusanu 'r crwydryn eiddil,—
  Ar ei wddf yn syrthio i lawr?
Uwch, ac uwch yn awr dyrchafa
  Tannau 'r Nef eu sain ynghŷd;—
O! a ydyw'th werth di gymmaint,
  F'enaid bach, a wyt mor ddrud!

Bydd llawenydd yn y nefoedd,
  Os o'th lwybrau ffol y ffoi;

Mae, bechadur, iti roeso,
  Os at dŷ dy Dad y doi;
Gâd dy cibau a'r gorwagedd,
  Gâd y byd a'i ffalsedd ffol,
Cofia lewndid ac ymgeledd
  Tŷ dy Dad, a dere 'nol.

---

## HYMN.

### ERFYNIAD AM GYNNORTHWY YR YSBRYD GLAN.

Mawr iawn y gwaith sydd o fy mla'n,
Sef achub f' enaid rhag y tân;
Mae 'r cnawd yn llesg, mae 'r yrfa 'n faith;
Mae eisiau cymhorth ar fy nhaith.

Mae eisiau gado 'r anial hyn,
Mae eisiau cyrhaedd pen y bryn,—
Ond mae ei goppa 'n uchel iawn,
A'm traed y sydd o friwiau 'n llawn.

O! Arglwydd, estyn im' dy nerth,
I ddringo rhwng y creigiau serth,—
Ymdrechu raid i adyn gwan,
Ond *ti* gei 'r clod os dof i'r lan.

Tydi ddatguddiaist imi 'n hael
Fod gwlad sydd well nâ hon i'w chael;

*Ti* biau'r wlad,—ac os caf ddod
O fewn ei muriau *ti* gei 'r clod.

Tydi gei 'r parch yn deilwng byth,
O wresog fron mewn cân ddi lyth;
Fy Nuw, fy Nhad, tydi gei 'r mawl,
I ti mae 'n perthyn iddo 'r hawl.

Mae 'n rhaid ymdrechu teithio 'mla'n,
O Dduw, rho nerth dy Yspryd Glân,—
Mae 'r cnawd yn llesg, mae 'r yrfa 'n faith;
Mae eisiau cymhorth ar fy nhaith.

---

# HYMN.

**"EDRYCHWCH AR ADAR Y NEFOEDD," &c.**

**Mat. pen. vi., y rhan olaf.**

Gwrandawaf, anwyl Iesu,
  Yn ufudd ar dy lais,
Sy 'n erchi im' hyderu
  Ar Dduw a ŵyr fy nghais;
Edrychaf fyth ar adar
  Y nefoedd, deulu llon,
Mor beraidd maent yn trydar,
  Heb ofid dan eu bron.

Nid ŷnt yn hau na medi,
  Na chywain adre' chwaith,—
Ond etto cânt eu porthi
  Gan Dad holl natur faith.
Edrychaf ar y llysiau
  Sy 'n tyfu 'n llon o'r llawr,—
Mil harddach yw eu lliwiau
  Nâ gwisg un t'wysog mawr.

Os Duw fel hyn sy 'n porthi
  Yr adar heb naccâu,
Ac yn dilladu 'r lili
  Mor hardd, a hithau 'n frau;
Pa fodd y diobeithiaf,
  I mi na rydd yn fwyn,
Yr hyn sydd eisiau arnaf?
  Pa ham na thaw fy nghŵyn?

Yn gweled mae ei lygad
  Fy eisiau draw o bell;
A'm lles a ŵyr yn wastad,
  Nâ mi yn llawer gwell:
Ei air sy 'n gweyd mai ganddo
  Yn rhif mae gwallt fy mhen,—
Rhof fyth fy ngoglud arno,
  Mae 'n Llywydd dae'r a nen.

## HYMN.

### ANNIOLCHGARWCH DYN AM FENDITHION DWYFOL A GWAREDIGAETHAU O GLEFYDON, &c.

"Oni lanhawyd y deg? ond pa le y mae'r naw? Ni chaed a ddychwelasant i roi gogoniant i Dduw, ond yr estron hwn." Luc xvii. 18.

Bum mewn llawer o flinderau,
Yn llwyr gredu na ddoi 'r dydd,
Byth y cawn o'm cyfyngderau,
A'm caethiwed dd'od yn rhydd:
O helbulon uwch rhifedi,
E'm gwaredodd llaw fy Nuw;
Iddo 'n llon, a gofiais roddi
Cynnar fawl, yn daliad gwiw?

Lawer gwaith ar wely galar,
Pan mewn arswyd brenin braw,
Bum am bechod yn edifar,
Ac yn wylo 'n drist heb daw,—
I fy Nuw yn addunedu,
Os cawn eilwaith fwyn wellhad,
Cai fy nghamrau ddidwyll harddu
Beunydd ei Efengyl fâd.

Wedi cael ymwared tirion,
Trwy drugaredd hael fy Nuw;
A gyflewnais f' addewidion,
Wrth ei fodd trwy ddoethgar fyw?

Erchyll lwybrau plant drygioni,
  Sydd yn ffiaidd iawn eu llef,
A adewais, i gael rhoddi
  Gwir ogoniant iddo Ef?

Llawer deg sy 'n cael diangfa,
  O drwm glefyd blin ei loes,—
Prin o ddeg mae un yn coffa
  Am y llaw yn rhydd a'i rhoes:
Wedi unwaith ail gyrhaeddyd
  Hen arferol ffyrdd y byw,
Bach y nifer sy 'n dychwelyd
  Yn eu hol i foli Duw.

---

## HYMN.

"Dysg i ni felly gyfrif ein dyddiau, fel y dygom ein calon i ddoethineb." Salm xc. 12.

O DDYDD i ddydd, o awr i awr,
  Mae 'n nesu gwawr y dwthwn
In' ado 'r byd, a myn'd i'r bedd
  Yn oer ein gwedd, ystyriwn.

Olwynion amser sydd yn troi,
  Ni fedrwn ffoi rhag angau;—
Yn ddoeth adgofiwn bawb, mewn pryd,
  Iawn gyfrif hyd ein dyddiau.

Pob gwaith a dderfydd pan y'n rhoer
  Yng ngwely oer marwolaeth;
Gwneyd yn y bedd i'r nefol Gun
  Nid ellir un gwasanaeth.

A oes i'w wneyd ddim, ddim yn ol,
  Cyn myn'd i'n bythol artref?
Ein henaid gwerthfawr, hoff, a yw
  Mewn hedd â Duw y tangnef?

Yn awr yw 'r amser, heddyw 'r dydd,
  Os rhywbeth sydd i'w wella,—
Ni ŵyr un dyn o dan y ne'
  Nad hwn yw 'r cyfle' ola'.

---

## HYMN.

"A'r Iesu a fu anfoddlon, ac a ddywedodd, Gadewch i blant bychain ddyfod attaf fi, ac na waherddwch iddynt; canys eiddo y cyfryw rai yw teyrnas Dduw." Marc x. 14.

Bychain blant bu'r Arglwydd Iesu
  I'w lân freichiau yn gwahôdd,
Ac i'r anwyl rai 'n cyfrannu
  Bendith Nef yn felus rodd;
E geryddai 'n llym y rhei'ny
  A fynnasai 'u cadw 'n ol,—
Eu gwirionedeb gan orhoffi,
  E'u derbyniai yn ei go'l.

Pan bo angau yn cymmeryd
  Plant i ffwrdd o dir y byw,
Wylo heilltion ddagrau tristyd
  Ar eu hol anghymmwys yw:
O dywyllwch dyffryn galar
  Aethant adre' atto Ef
A ddywedodd ar y ddaear
  Mai eu rhan yw teyrnas nef.

Plant oedd anwyl gan yr Iesu
  Tra bu 'n rhodio 'r ddaear hon,—
Yn y nefoedd cânt ei garu,
  Ar ei wyneb wenu 'n llon:
Mantell glyd ei gariad mwynaidd
  Sy 'n eu hamgylchynu 'nawr,
Nid oes arnynt hiraeth oeraidd
  Am wageddau daear lawr.

Ni fu enllib ar eu genau,
  Ni fu dichell yn eu bron,
Ni rodiasant geimion lwybrau
  Twyll a brad y fuchedd hon;
Addas ŷnt i gymdeithasu
  A thrigolion pur y wlad
Lle mae heddwch yn teyrnasu
  Yn ddiddiwedd ei barhâd.

# HYMN.

"Oddieithr eich troi chwi, a'ch gwneuthur fel plant bychain, ni ewch chwi ddim i mewn i deyrnas nefoedd." Mat. xviii. 3.

Cyn cael cyrhaedd gwlad goleuni,
  Burwyd oll â nefol dân,
Dywed Crist mai rhaid yw geni
  Dyn o newydd oll yn lân;
O hunanol ffrost a balchder
  Dwyn y galon gudd yn iach,—
D'od mewn yspryd o addfwynder
  Oll yn llwyr fel baban bach.

Coethi gwreiddyn dyfna' 'r teimlad,
  Lladd trachwantau o bob rhyw,—
Yn y meddwl, gweyd yn wastad
  "Bach wyf fi a mawr yw Duw:"
Bod fel plentyn gwan yn wirion,
  Heb na dichell, twyll, na brad,—
Bod i bawb o'n cylch yn dirion,
  Fel y bu ein Harglwydd mâd.

Nefol Dad, yn argraphedig
  Bo dy air ar f' enaid i,—
Dysg fi i gwympo 'n ostyngedig
  Fyth o flaen dy fawredd di:
Lladd hunandyb sydd yn dirgel
  Nythu yn y fynwes hon,—
Yn ei le rho fryd i isel
  Blygu 'n wastad ger dy fron.

Felly 'n addas y derbyniaf
  Gyfraith lân dy deyrnas fwyn,
Ei haddasrwydd ni amheuaf,
  Dan ei baich ni roddaf gŵyn,—
Ond disgwyliaf am y borau,
  Trwy amynedd dwys a ffydd,
Pan ddaw 'n eglur dy drefniadau
  Fel goleuni 'r canol ddydd.

---

## HYMN.

**"Cofia yn awr dy Greawdwr yn nyddiau dy ieuengctyd, cyn dyfod y dyddiau blin, &c." Preg. xii. 1.**

Ym mlodau 'th oes, mewn nerth yn awr,
  Iawn gofia 'th fawr Greawdydd,
Ac i'w wasanaeth dwys a da
  Cyssegra dy foreu-ddydd.

Mae 'nawr dy deimlad oll yn frwd,
  Daw serch yn ffrwd o'th galon;
A ph'eth i hwn yn wrthddrych rhwydd
  Gei 'n well nâ 'r Arglwydd tirion?

Pwy 'n gyfaill gwell yn hyn o fyd,
  I roi dy oglud arno?
A phwy yn well i fod o'th blaid,
  Pan bydd yn rhaid ymado?

Nid addas d'od i'w winllan ef,
  Gan godi llef edifar,
Yn ol i'r nerth a'r grym lesghâu
  Wrth foddio duwiau daear.

Mae 'r dyddiau blin yn agoshâu,
  Mae 'n fyr, mae 'n frau dy fywyd:
At waith dy Dduw, O dere 'nawr,
  Cei brofi 'n fawr dy wynfyd.

Dos, dos, a gâd y byd ym mhell,
  Ni chei di well gwobrwywr,—
Cei deimlo, foreu a phrydnawn,
  Yn hyfryd iawn dy gyflwr.

O dan ei ofal tirion ef
  Cei oll yn nef o'th ddeutu;
Yn nyffryn angau, dan ei law,
  Yn wyneb braw cei ganu.

Cei yn y nefoedd gyda'i saint
  Yn fawr dy fraint ei ganmol,—
Ar dir y gwynfyd golau glân,
  Dyrchafu'r gân drag'wyddol.

## HYMN.

**"Agos yw yr Arglwydd at y rhai drylliedig o galon; ac efe a geidw y rhai briwedig o ysbryd." Psalm xxxiv. 18.**

Chwi, â'ch bronnau yn friwedig,
Dan eich beichiau'n soddi i lawr,
A'ch calonau yn ddrylliedig
Dan drwm wasgfa cystudd mawr,—
Am bechodau'n athrist wylo
Dagrau heilltion yn ddi drai,
Dan wan-obaith blin yn gwywo
Pan i'ch cof daw llawer bai,—

Pan y tybiwch fod yr Arglwydd
Wedi'ch gadael oll yn llwyr;
Etto, clywch, eich gostyngeiddrwydd
Ef a'i gwêl ac ef a'i gŵyr:
Y mae'n agos, gwir ei eiriau,
Attoch chwi, â'ch calon donn,—
Yn agosach fil o weithiau
Nâg at blant llawenydd llon.

Puro'r fron â dw'r cystuddiau
A wna Duw dros ronyn bach;
Ond ar fyr fe sych eich dagrau,
Ac fe'ch dwg i'r nef yn iach:

Yna myrdd o lawen-gerddi
  Fydd am bob ochenaid drist,
Yn hoff deyrnas y goleuni,
  Gyda'r Tad a chyda Christ.

---

## HYMN.

"Canys ni a wyddom os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddattodir, fod i ni adeilad gan Dduw, sef tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd." 2 Cor. v. 1.

Os fy naearol waelaidd dŷ
  Yn raddol sy 'n ymddattod,
A'r dydd o'i syrthio'n lân i lawr
  O awr i awr yn dyfod,—

Os pridd a llwch yw'r babell hon
  Ag sydd ym mron dadfeilio,
Mae imi dŷ ar amgen sail,
  Oes, oes i ail breswylio.

Y mae i'r rhai a garant Nêr
  Fry uwch y sêr anneddau,
Na fena treigliad amser byth
  Ar eu tragyfyth furiau.

I eigion môr yr haul a syrth,
  Diflanna gwyrth yr wybren;

Bydd yn y nef fy lletty clyd
  Er hyn i gyd yn ddien.

Cyfnewid byth un oed ni wna
  Ar y breswylfa nefol;
A'i sail yn ddewr, a'i gwedd yn wyn,
  Ar Sïon fryn trag'wyddol.

---

## HYMN.

"Am hynny byddwch chwithau barod; canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn." Mat. xxiv. 44.

Yn ddiau Mab y dyn a ddaw,
A'r amser prysur sydd gerllaw;
Fe'i gwelir ar gymmylau'r nef,
A llu angylaidd gydag ef.

Ef allai cyn darfyddo 'r dydd
Yn awr yn gwenu arnat sydd,
Y bydd yr amser pwysig iawn,—
Mae'n weddus gwylio forau a nawn.

Pa bryd y daw un dyn ni ŵyr,—
Ai gyda'r wawr, ai yn yr hwyr,
Ai canol nos, ai canol dydd,—
Hyn yn guddiedig ollol sydd.

Ond daw,—gwirionedd cadarn yw
Yn eglur a lefarodd Duw;
A phan y delo, gochel, ddyn,
Rhag iddo'th gael â drwg ynglŷn.

Beth os ymddengys yn y nen,
Ar wely meddwdod pan bo'th ben?—
Neu pan bo dyfais brad a thwyll
Yn dallu pur oleuni'r pwyll?

Beth, os pan byddo enw'th Ri
Yn gabledd yn dy enau di?—
Pa fodd y codi 'th drem i'r nef,
I edrych yn ei wyneb Ef?

---

## GAIR DUW.

**Hymn wedi ei haddasu at dôn, o eiddo D. J. Morgan, o Lechryd, Ceredigion, yr hon dôn a enwir Waterloo.**

Y NEFOL Air sy 'n fywiol faeth,
  Derbyniwn ef yn fwyn;
O hudawl faglau pechod caeth
  Mae hwn yn ceisio'n dwyn;
Mae hwn yn gwa'dd pechadur trist
  O'i anllad ffyrdd yn ol;
I hwn yn ufudd dyro glust,
  Ti was afradlon ffol.

Yn denu dyn mae llawer twyll
I rodio 'mhell o lwybrau pwyll;
I adael heddwch tŷ ei Dad,
A chrwydro'n wyllt mewn anial wlad:
Ond Gair ein Duw sy 'n addysg rydd
I'n harwain mewn goleuni dydd;
Rhown ein myfyrdod arno 'n llawn,
Ac yna gwir orfoledd cawn.

Gair yw a saif yn oll o'i nerth,
  Yn ddim pan fyddo 'r byd;
Saif hwn er pob chwyldroad certh
  Yn gadarn oll i gyd:
Hudoliaeth byd a'i bleser gau
  A dderfydd cyn bo hir:
Yr amser sydd yn agoshâu
  Na phrisir ond y gwir.
O! rhoddwn oll ein bryd a'n cais
I wrando 'r dwyfol dirion lais;
Yn arwain mae i fryniau 'r hedd,
Lle gyda Duw mae bythawl wledd,—
Lle'n llifo mae gorfoledd mad,
Heb ddim ar feth trwy gyrrau 'r wlad;
Lle nad oes gelyn, cur, na chlwy',
Na 'madael byth â'n gilydd mwy.

# HYMN.

"Teilwng yw yr Oen yr hwn a laddwyd, i dderbyn gallu, a chyfoeth, a doethineb, a chadernid, ac anrhydedd, a gogoniant, a bendith." Dat. v. 12.

Yr Oen a laddwyd teilwng yw
O wresog barch pob enaid byw;
Fe haedda 'r gân, fe haedda 'r mawl,
A phob anrhydedd byth heb dawl.

Ei waed a gollodd drosom ni,—
Boed iddo 'r clod, boed iddo 'r bri;
Y fendith oll yn llwyr, yn llawn,
Rhown iddo ef hyd eitha 'n dawn.

Y gallu a'r gogoniant byth
Boed iddo ef mewn cerdd ddi lyth,—
Cydseinied nef a daear faith
Ei glodydd pêr mewn melus iaith.

Y greadigaeth helaeth fawr,
Ym mhell i fynu, 'mhell i lawr,
Cyduned trwyddi oll yn lân
I'w enw ef i godi 'r gân:

A theilwng yw,—ei hunan rhoes
Dros ddyn yn aberth ar y groes:
Yr awron dyrchafedig yw,
Yn eistedd ar ddeheulaw Duw.

## HYMN.

"A'r haul a dywyllwyd," &c. Luc xxiii. 45.

Nid rhyfedd oedd it', haulwen,
Dywyllu 'n entrych nen
Pan oedd yr Iesu addfwyn
Yn goddef ar y pren,—
Yr un reolai 'r gwyntoedd
Wrth ganfod dan ei gur,—
Tywysog mawr tangnefedd
Yn profi 'r bustyl sur.

Ymguddiaist gan oer g'wilydd
O weled digllawn lu
Yn gwawdio 'n Harglwydd tirion
I bawb mor hawddgar fu,—
Yr un a wylai 'r dagrau
Yn dyner dros ei wlad,
Yn colli gwaed ei galon
Mewn dirmyg a sarhâd.

Ti, haulwen ar dy yrfa,
Yn fynych gwelaist ef
Yn gwella briwiau 'r cleifion,
Yn fwyn, trwy wlad a thref,—
A llen o ddu dywyllwch
A deflaist dros y gwaith

O'i ladd yn waradwyddus
Gan blant y cabledd maith.

---

## HYMN.

"Yr Iesu a ddywedodd wrth y deuddeg, a fynnwch chwithau hefyd fyned ymaith. Yna Simon Pedr a'i hattebodd ef, O Arglwydd, at bwy yr awn ni!" Ioan vi. 67, 68.

At bwy, f' anwylyd Iesu,
Yr âf o'th ŵydd a'th dŷ?
Rhyw erchyll nos sy'n nesu,
Os colla' i'th wyneb cu:
Mae'r byd yn llawn diffeithwch
A d'rysni oll i gyd;
Nid oes ond ti a'th heddwch
A all sirioli 'mryd.

Tydi yw llyw fy enaid,
Ar fôr o donnau 'n llawn,
Sy 'n curo arna' i'n ddibaid,
Foreuddydd a phrydnawn:
Tydi yw 'r "ffordd a'r bywyd:"
I b'le i grwydro 'r âf?
Yr wyf yn waeth nâg ynfyd,
Os gadael Crist a wnaf.

Tydi yw ffynnon hyfryd
Yr iachawdwriaeth fawr,

I fyrdd yn rhoddi bywyd
  Pan maent ar soddi i lawr.
Dywysog mawr tangnefedd,
  Dad trag'wyddoldeb maith,
Os palli di 'th ymgeledd,
  At bwy cyfeiria' 'ı nhaith?

Tydi yw 'r Seren forau
  Sy 'n arwain myrdd yn lân,
Trwy ddyffryn cysgod angau,
  I fro 'r drag'wyddol gân;—
Tydi â'th waed yw testun
  Caniadau 'r nefoedd wen;
Fy mrawd, fy Nuw, fy Mrenin,
  Boed iti 'r mawl. Amen.

---

## HYMN.

"O hyn allan rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i mi," &c.
2 Tim. iv. 8.

Os trwy 'r anialwch mae fy nhaith,
  Dros ddyrys faith ddiffeithwch;
Mi gaf orphwysfa cyn bo hir,
  Ar hyfryd dir tawelwch.

Yng nghadw mae ar fryniau 'r gân
  Im' goron lân cyfiawnder,

Yr hon a rydd y Barnwr mawr
  Pan ddelo 'r awr anwylber.

Beth fydd coronau 'r ddaear wiw
  A honno i'w cydmaru?
Dim, dim,—bydd honno fel yr haul
  Dros byth yn araul d'wynnu.

Hon ar fy mhen, pan ddelo 'r pryd,
  A'i law fe ddyd fy Ngheidwad;
A mi a roddaf yn ddi dawl
  Byth iddo fawl yn ganiad.

---

## HYMN.

"Ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn, y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef." 1 Cor. ii. 9.

Y SAWL a garo 'r Arglwydd Iôr,
  Gan wneyd ei gynghor beunydd,
A gânt wobrwyon, ddydd a ddaw,
  Mewn gwerth uwchlaw lleferydd.

O'u gwychder llygad nid yw 'n dyst,—
  Ni chlywodd clust daearol
Erioed ddarlunio 'r pethau mad
  O fewn y wlad drag'wyddol.

A'u gwnaeth yr Hollalluog yw,
  Anfeidrol Dduw 'r mawrhydi;
A gallwn ddeall hyn, yn ddir,
  Eu bod i'w gwir ryfeddu.

Eu bod yn deilwng llwyr yw 'n ffydd
  O'u mawr Gyfrannydd dwyfol,
Yr hwn a wnaeth yr haulwen fry
  A'r ser ag sy mor siriol.

Ymdrechwn haeddu, trwy iawn fyw,
  Dda bethau Duw 'r haelioni;
Ac mae 'n wirionedd eithaf llawn
  Byth, byth na chawn ein siomi.

---

## HYMN.

"Gwyn eu byd y bobl y mae'r Arglwydd yn Dduw iddynt."
Salm cxliv. 15.

Gwyn fyd y rhai mae 'r Arglwydd Iôr
  Yn Dduw, yn drysor iddynt,—
Gofala byth mewn cariad llawn
  Yn dyner iawn am danynt.

Yr Hollalluog ydyw ef,
  Mawr Lywydd nef a daear;
Nid all un grym fod iddo 'n groes,—
  Ni fu, nid oes ei gymmar.

Lle byddo 'i wên pob braw a ffŷ,
  A'r cyfan dry 'n dawelwch;
Efe, mae 'n gywir wir di wad,
  Yw unig Dad dedwyddwch.

Gwyn fyd y rhai, mewn cyflwr cu,
  Mae Duw 'n teyrnasu arnynt:
Mawr chwantu 'r wyf, y nefol Gun,
  Cael bod yn un o honynt.

Fy myd yn hyfryd yma gaf,—
  Yn angau byddaf ddiogel,—
Caf yn y nefoedd ddedwydd dda
  Dros byth orphwysfa dawel.

---

## HYMN.

"Pa beth yw dyn i ti i'w gofio." Salm viii. 4.

Mor ddyrchafedig wyt, ein Duw,
  Fawryddig Lyw di-gymmar,—
Dy ogoneddus ryfedd waith
  Yw nefoedd faith a daear.

Mae ôl dy law, anfeidrol Fod,
  Trwy ehang rod ffurfafen,
Yn traethu 'r nos, mewn eglur iaith,
  Dy allu maith anorphen.

Marchogi ar y gwynt, ein Iôr,—
  Dy law sy 'n hwylio 'r daran,—
Yn dyst o'th fawredd, Arglwydd mad,
  Mae holl symmudiad anian.

Addefir di drwy'r nefoedd wen
  Ar bawb yn Ben urddasol,—
A rhydd seraphiaid iti fawl
  Yn llys y gwawl trag'wyddol.

Pa beth yw dyn, greadur gwael,
  I ti mor hael ei gofio,
A chynnyg bod o'th ryfedd ras
  Yn Noddwr addas iddo!

O derbyn glod a pharch a bri,
  O'n genau ni, rai gweinion;
Rho ini fryd i wrando'th lais,
  A gwneyd dy gais yn gyson.

---

## HYMN.

"Na chymmer enw yr Arglwydd dy Dduw yn ofer."
Exod. xx. 7.

Gorch'mynodd Duw un peth yn ddwys,
Gan roddi arno ryfedd bwys;
Sef na chymmerem, unrhyw awr,
Yn ofer enw 'n Crëwr mawr.

Y cablwr atgas, ddyn di foes,
A wna i hyn yn hollol groes,
Tra 'r gwaith heb bleser o un rhyw,
Os nad yw 'n bleser digio Duw!

Yr hyn waharddodd Iôn, ei Dad,
Yr hwn sy'n rhoi bendithion rhad,
A wna fe ganwaith yn y dydd,
Gan watwar Duw a'r farn a fydd.

Hudoliaeth bradus cnawdol flys,
Neu'r chwant o ddwyn, er achub chwŷs,
Ynt fwy naturiol, clywch, nâ'r bai
Arswydus hwn,—gwae'r euog rai!

Y cablwr ffiaidd, cas ei dôn,
Sy'n eglur ddweyd yn wyneb Iôn,
"Dy arch a brisiaf megis dim,
A'th gais ni wnaf, er hawdded im'."

Y Duw sy'n cynnal gwres dy fron,
A haeddai ef yr hylliaith hon!
Ymbwylla, ddyn, cyn delo'r awr
Bydd rhaid wynebu'r cyfrif mawr!

## HYMN.

"Y mae gan hynny orphwysfa etto yn ol i bobl Dduw."
Heb. vi. 9.

Os gofid sy 'n dy wasgu 'n drwm,
Yn gwneyd dy enaid megis plwm;
Dan flinder trist na wyla 'n ffol,
Mae it' orphwysfa etto 'n ol.

Os trwy 'r anialwch niwlog, maith,
Yn eitha' dyrys mae dy daith;
Dan flinder trist na wyla 'n ffol,
Mae it' orphwysfa etto 'n ol.

Os yw dy enaid yn tristâu,
O achos twyll cyfeillion gau;
Dan flinder trist na wyla 'n ffol,
Mae it' orphwysfa etto 'n ol.

Os galar llym sy 'n gwywo'th wedd
Wrth roi perth'nasau yn y bedd;
Dan flinder trist na wyla 'n ffol,
Mae it' orphwysfa etto 'n ol.

Os wyt yn dechreu teimlo 'th ffydd
Yn wan, o eisiau gwel'd y dydd;

Gwêd wrth dy enaid, (na fydd ffol,)
Gorphwysfa yw sydd etto 'n ol.

---

# HYMN.

## CLADDEDIGAETH Y MARW.

Un etto wedi 'n gadael sydd
  Na rodia'n daear mwy,
Yn myn'd i'r tawel letty cudd
  O afael poen a chlwy'.

O'r pridd y daeth ; i'r pridd yr â,—
  Awn ninnau'n glau 'r un wedd :
O blant y llwch nid oes a gâ
  Ddiangfa rhag y bedd.

Mae rhoi cyfeillion dan y gwys
  Yn addysg i bob dyn
I drefnu, mewn prysurdeb dwys,
  Ei gyfrif ef ei hun.

Pan roddo angau 'r olaf wŷs,
  Rhy hwyr fydd parottoi ;
I'r fanol farn bydd raid ar frys
  I ni ein hatteb roi.

Na ddigied neb, trwy bechu'n gas,
Sylfaenydd mawr y nef,
Ag sydd mor hael yn ffyrdd ei ras,
Mor dirion yn ei lef.

At afradloniaid mwyn ei lais;
A phwy a all yn hir
Droi byddar glust at un â'i gais
Dros ein dedwyddwch gwir?

# ENGLISH PIECES.

BY THE SAME AUTHOR.[a]

## LINES

IN MEMORY OF THE LATE REV. ELIEZER WILLIAMS,

HEAD MASTER OF THE LAMPETER GRAMMAR SCHOOL.

Art thou forgot, our guardian and our friend?
Did, with thy life, thy name and mem'ry end?
And has the darkness of the tomb set free
Our hearts' affection and our love from thee?
No, gen'rous father, no—we still can trace
The beams of friendship playing in thy face,
And view those eyes whose vivid lustre glow'd
To mark that *there*, Intelligence abode.
The tear that rolled in silence o'er the cheek,
Thy admonitions and thy precepts meek,
Each tale rehears'd our bosoms to inspire,
And wake to noble deeds our young desire

---

[a] It was not originally the intention of the author to insert in this Work any of his English Compositions; and these few Pieces are introduced in consequence of some of his English friends having expressed a wish to see a portion of English in the Volume.

We still remember,—while affection binds
Our souls to thee, and sorrow fills our minds.
To thee, fair science oped her ample store,
Yes—and to thee for kindness look'd the poor,
That mighty mind on eagle-wings that soared,
The darkest paths of learning that explor'd,
Was still attentive to the orphan's cry,
The peasant's mournful tale—the widow's sigh.
Thine was that humor which bade sadness smile,
And thine the Christian heart that knew no
guile:
Like God's true Shepherd, thy incessant aim
Was, the poor wandering sinner to reclaim—
To preach Christ crucified—disarm all strife,
And feed the hungry with the bread of life.
If here thou trod'st affliction's gloomy way,
If cares and sorrows mark'd thy cloudy day—
Now thy blest spirit rests in that domain
Where death is nam'd not—and where pleasures
reign.
Adieu, kind master—best of friends, adieu;
God will again our intercourse renew,—
When, no more sever'd from thy fond embrace,
We 'll praise th' eternal God—the God of grace.

# VERSES,

Recited at the Public Dinner given at Lampeter, July 27th, 1824, to the Rev. John Williams, Vicar, and Head Master of the Grammar School at that place, on the occasion of his departure to fill his new, distinguished situation, as Rector of the *Edinburgh Academy.*

Welcome or not, I must impart
The feelings of an aching heart
On this eventful day,
When Cambria's doleful notes I hear,
When Father Tivy drops the tear,
And Friendship whispers in mine ear,
"I wish that he would stay."

Thy image, friend, will ever rest,
When thou art far away, impress'd
Deeply on mem'ry's page:
Thy eloquence, thy wit,—thy mind
Stored with intelligence—refin'd
By all that sages left behind
Will oft our thoughts engage.

If go thou wilt, with thee will go
The prayer of the high and low
That thou thy wishes gain:
When thou art far from Tivy's vale,
The poor will think of many a tale
Of sorrow told at Falcondale,
And never told in vain.

If richer prospects thee invite
To distant plains where honours bright
  On genius e'er attend,
Still foremost be to crush the hand
That ever may attempt to brand
With foul disgrace thy *native Land*,
  And prove old Wallia's friend.

Still bear in mind sweet Cambria's hills,
Her verdant vales and murm'ring rills,
  That erst thy hours beguil'd:
The partner of thy joy and care—
Thy children, amiable and fair,
Were nurtured by the fresh'ning air
  Of *Ceredigion* mild.

'Tis always hard to say adieu;
But so t' address some loved *few*
  Is still a greater pain:
On thee and thine may Fortune pour
The richest gifts she has in store—
*Then* we will ask her one thing more—
  To bring thee back again.

# THE RETURN.[a]

Come, ye rustics, come and tell,
  Why, when all is calm around,
When the gales so sweetly smell,
  Skimming o'er the daisied ground,—

Prostrate on the ground I lie,
  Thus with faint, extended feet,
And the dropping tear descry
  Glistening on my grassy seat.

I bewail no Cupid's dart
  Plunging in a guiltless breast,—
No perfidious virgin smart,
  Deigning not to make me blest.

Wife or son has never cross'd
  My fond wishes or my laws,—
I no costly ship have lost,
  Deep ingulfed in ocean's jaws.

Blasted is no corn of mine,—
  Dying o'er my field no flock, —
Milkless turn'd no faithless kine,
  Not my toils the tempests mock.

---

a This Piece appeared in the Oxford Journal, 1814.

Why then heaves my bounding breast
  Thus convulsive on the clod,
With such loads of sorrow press'd,
  That I cannot onward plod?

'Tis to view my father's cot
  Dimly peeping through the shade,—
'Tis to see the pleasing spot
  Where so oft in youth I play'd.

'Tis to view this aged tree
  On whose bark my name remains,
And which still remember'd me
  Distant far on foreign plains.

Present in this happy shade
  I no beauty in it found,—
Dull the sweet, enchanting glade,
  Dull the streams that purl'd around.

But the farther I withdrew,
  Fairer then was every spray;
Pictured on my mind anew,
  E'en the mossy turf grew gay.

Ne'er again shall curious eyes,
  Craving still for things unseen,
Draw me from these purer skies,
  From these vales of vivid green.

Here the paths of youth I'll tread,—
  And o'er old sequester'd ways,
On yon craggy mountain head
  Seek the haunts of former days.

On the same unalter'd hearth,
  Present objects I'll compare
With what then in youthful mirth
  Pleas'd me and engross'd my care.

Nature's wonders I'll explore,
  And the strengthen'd mind employ
Where with equal warmth before
  Oft I watched the whirring toy.

# YCHWANEGIAD

O WAITH YR UN AWDWR.

---

## I'R HAUL.

LAMP hardd yr Hollalluog! euraid Haul!
  Bennadur oesawg yr ehangder glas,—
Dros filmyrdd o flynyddau heb un traul
  Yn tramwy 'r wybren,—mi a deimlaf iâs
Rhyfeddod wrth dy weled; teimlaf chwant
Dy annerch fel rhyw nefol hybarch sant.

Ni feiddiaf edrych yn dy wyneb glwys;
  Ysplennydd Haul, rhoi dysg yr wyt i mi
I synio gydag ofn a gwylder dwys
  Am lewyrch mainge yr Hwn a'th luniodd di;
Y Duw anfeidrol ddoeth—anfeidrol fawr
A'i fys a'th ffurfiodd di, wybrennol gawr!

Meddyliaf am fy hendaid a thaid hwn,
  A theulu 'r cynfyd yn eu lludded prudd;
Llewyrchaist ar eu hwyneb ar awr pwn
  Eu llafur ar y ddaear; aeth eu dydd

*Hwynt* heibio fel hynt cwmmwl,—wyt *ti* 'r un
I'm hebrwng innau i'm trag'wyddol hun.

Meithrinaist lysiau ar y lle bu sail
Dinasoedd caerawg y boreuol fyd
Cyn llunio 'u muriau: megaist yno ddail,
Y gwanwyn, â dy dwymder tirion, clyd;
Y lili etto yn dy wres a chwardd
Ar adfail Babylonia gynt mor hardd.

Mae llafar i'm dychymmyg gennyt ti
Yn llifo gydâ gwawd ar falchder dyn,—
Wybedyn gwael y llaid, a gyfyd Rhi
I fywyd yn y bore,—yna sy'n
Diflannu ymaith fel y rhoddo fe
I'w had o'r llygredd am funudyn le.

Ti fyddi, Haul bywydol, ar fyr ddydd,
Yn taenu dros fy meddrod fantell werdd:
O! rhoed dy Luniwr i'm dawelwch ffydd
Y caf, pan ddelo 'r awr, hyfrydwch cerdd
Gogoniant yn fy ngenau, pan bo 'm cnawd,
Yn faluriedig yn ei annedd dlawd.

Myfyriais ar dy fawredd, Haul y nen;
I ddunos prudd-der gynneu 'r aeth fy mryd:
Mae ynnof lais yn gweyd am godi 'mhen,—
Mai goruwch wyf, yn Nuw, nâ Haul ein byd;
Fod ynof fi, sy 'n bridd a llwch y llawr,
Yng nghudd ronynyn bach o'r Duwdod Mawr.

Mae *enaid* ynnof i drag'wyddol fyw,—
  Yr Haul, ryw ddydd, a syrth i eigion môr—
Gwreichionen o anadliad Yspryd Duw
  A *raid* ddychwelyd i breswylfod Iôr;
Fe gyfyd hedyn Duw, ar ryfedd awr,
Mi gadarn gredaf, i ryw harddwch mawr!

---

# LLINELLAU

**Ar farwolaeth mab Mr. David Owen, (BRUTUS,) cyfansoddedig ar gais y rhieni.**

MAE 'th alar, Brutus, mi a wn, yn ddwys;
  Mae llwyth o gystudd blin yn gwasgu 'th fron;
Gan ysawl hiraeth am dy fab mae pwys
  O ddolur ar dy enaid; nid yw lon
Dy wedd fel gynt, a buan o dy rudd
Diflanna 'r wên gan drymder mynwes brudd.

Fy awen all ddychymmyg loes y fam;
  Ni holaf yn ei chur *pa faint* ei chwyn:
Mae blodau 'i hyspryd wedi gwywo, am
  I angau dorri gwraidd ei chysur mwyn;
Mae 'i meddwl drylliog—caffed gymmorth Iôr—
Fel llong heb lywydd ar y tonnawg fôr.

Mae gwneyd gan angau ysgar rhwng y rhai
  A rwymodd Natur gref mewn cwlwm tyn
Yn ergyd caled ar y tŷ o glai;
  Ond trefniad Duw 'n ei ddoethder ydyw hyn;

Eich ffydd bid gadarn yn ei gariad Ef,
Reolydd daear a Llywiawdwr Nef.

Mae olwyn cerbyd eich gobeithion chwi
  Yn ddarnau wedi 'mrwygo ar un waith;
Eich heulwen a dywyllodd, pan oedd hi
  Yng ngrym ei llewyrch ar y glesni maith:
Yng nghanol corwynt mawr y siomiant syn
Mae 'r Awen, Brutus, itti 'n dweyd fel hyn:—

Mae 'r meirw gwynfydedig fry yng n'gardd
  Paradwys wèn flodeuog gyda Duw:
Mae palmwydd yn eu dwylaw, ar fryn hardd
  Bendigaid Seion; ac yn flin a yw
Dy fron mewn dolur? O! adgofia 'r wlad,
Lle mae y gwaredigion gyda 'u Tad.

O'u llafur wedi gorphwys, ym mro Nef,
  Mae 'r rhai fu farw yn yr Arglwydd Iôr:
Un fron ni theimla eisiau lle mae Ef
  Yn rhoi o bren y bywyd; mae ystôr
O bob rhagorion yno; nid oes un
Dymuniad yno ond mwynhad ei hun.

"Ni welodd llygad ac ni chlywodd clust,"—
  Dychymmyg gwan erioed i galon dyn
Ni ddaeth o'r pethau ag mae Duw yn dyst
  Eu bod yn ddarparedig i blant Cun:
Yn heirdd, ryw ddydd, ceir meib y "cystudd
    mawr"
Mewn gynau gwynion fel goleuni 'r wawr.

Bererin tristwch! hed i noddfa 'r gwaed
A lifodd ar Galfaria 'n aberth drud:
Ymgrymma 'n isel yn y llwch wrth draed
Yr Iesu, Frenin y trag'wyddol fyd:
Bydd hyfryd canu, uwch cyrhaeddiad poen,
Mewn gwisgoedd wedi 'u cannu 'ng ngwaed yr
Oen.

---

# GALAR-GERDD

Ar farwolaeth y diweddar Barchedicaf WILLIAM BRUCE KNIGHT, Deon Llandaf.

ER'S dyddiau fy nghalon sy flin a thrymlwythog,
Mae tristwch trwy 'm mynwes a'i ddant fel o
ddur:
Mi geisiaf dy gymmorth, fwyn awen bêr-eiriog,
I blethu galarnad—bydd lesiol i'm cur.

Yn faich mae distawrwydd: ymdorred lleferydd
O'm genau, a chaffed fy mron esmwythâd:
Fy nghân os anystwyth, maddeued y celfydd;
Mae 'r testun, o leiaf, yn bwysig i'm gwlad.

Os yw gyffroedig ddyfnderoedd ein teimlad
Fy mrodyr Eglwysig, fel mynwes y môr
Dan chwythiad y corwynt, mae achos a galwad
Am yspryd toddedig—mae 'i wraidd yn yr Iôr.

E welir yr Eglwys yn wylo 'n bruddglwyfus,
A gwisgoedd o alar o'i hamgylch yn llen
Mewn tristwch gauafaidd, fel gweddw gwynfannus,
Yn codi 'r ochenaid—yn gostwng ei phen.

E welwyd yn syrthiaw o ganol yr wybren
Oleuni disgleiriaf a harddaf ei wawr,
Yn taenu sirioldeb hyd faes y ffurfafen,
Yn gweini tirionwch hyd wyneb y llawr.

Mi welaf y ffynnon o'r hon y dylifai
Dysgeidiaeth yn afon faithrinol ei thaith
Yn awr wedi sychu; a'r ddôl a ireiddiai
Ni welaf fi mwyach yn werdd ac yn llaith.

Mae Dëon Llandaf yn y tywod yn gorwedd!
Mae 'n tadol gynghorwr yn fud yn y gro!
Mae nerth a doethineb, mae urddas a mawredd,
Ei lafar mewn bythol ddistawrwydd yng nghlo!

Llandaf! mae y Gwanwyn a'r Haf wedi cilio
Ar ddawn dy Esgobaeth, sy randir mor lwys:
Ymruthrodd yr Hydref—mae 'r dail yn edwino
Ar gangau Gwybodaeth: mae'r olwg yn ddwys.

Mae 'r Eglwys fel llong heb ei llywydd rhwng tonnau
Cynddeiriog, brawychus, chwyddedig y môr;
Mae atti 'n annelu eu tanllyd fagnelau
Elynion ei llwyddiant mewn gwangc am ei 'stôr.

"Pa beth am y nos?" byth ni ddyry'r Gwyliedydd
Un gair yn attebiad o ddunos y bedd:
Mae llong ein gobeithion yng nghanol y 'stormydd,
Heb Knight i'w chyfeirio i borthladd yr hedd.

O'r cedyrn e gwympodd yr arwr cadarnaf
Yn lluoedd Duw Israel, arweinydd y gâd,
A hedd ar ei fanniar yn arwydd egluraf
O yspryd gwir Gristion at blant yr un Tad.

Os oedd ddyrchafedig ei urdd; a'i osodiad
Mewn uchel anrhydedd fel Blaenor, nid blin
Y profwyd awdurdod ei swydd i un teimlad;
Ei gerydd mewn cariad a lifai o'i fin.

Y "gorsen wan ysig" nis torrodd trwy drawsder;
Ymwreiddiai tynerwch yn eigion ei fryd,
Tywynai o'i wyneb serennog hynawsder,
Yn brawf fod y Nefoedd o'i gylch yn ein byd.

Nid *rhai* detholedig a brofent felusder
Ei serch a'i sirioldeb: pob gradd ym mhob lle
A welent ei fynwes yn orlawn o hoffder,
I daenu trwy'r llawr hinoneiddrwydd y ne'

Ei gariad a *delid yn ol* yn dwymwresog;
Pob calon, pob tafod oedd barod i'w fawl;
Gan ifangc fel tad, a chan hen fel tywysog
E'i perchid: addefid i fawrglod ei hawl.

Ei enaid oedd ddidwyll: a welaist ti ffynnon
A'i gwaelod mor loyw, mor ddisglair â'r dydd?
Gwir ddarlun a welaist o fynwes a chalon
Bruce Knight, o bob syniad anfrawdol yn rhydd.

Oedd fawr mewn doethineb a chynghor goleugall
I gynnal ein Heglwys mewn urddas a bri,—
Rheolau aneglur ei breinniau 'n llwyr ddeall;
Oedd *fwy* yng ngwybodaeth o air ein Duw ni.

Oedd hyddysg yn ieithoedd hen ddoethion y cynfyd,
Mor ddrudfawr eu synwyr nes etto maent fyw.
Mawr barchai iaith Gomer, trwy 'r hon, i'w dedwyddyd,
Mae 'r Cymry 'n cael cynnal cyfrinach â'u Duw.

Eilunod y byd—rhwysg a mawredd daearol,
Anhyblyg elynion i lwyddiant y groes,
Gorchfygodd, fel milwr a roddai 'n egnïol
I'r rhyfel i'w herbyn holl ymdrech ei oes.

Ei gariad haelionus, y noeth yn dilladu,
'Newynog yn porthi, 'n ymweled â'r claf,
Diodydd i'r genau sychedig yn rhannu,
A helaeth wobrwyir yn nheyrnas ei Naf.

I frawd y Cyfryngwr goruchel ei hunan
Y rhoir y drugaredd a roir i ddyn tlawd:

Fe gofia 'n Pryniawdwr bendigaid y gyfran
  O'n cyfoeth a roddwn yn borthiant i'w *frawd.*

Yn achos y weddw[a] ei ymdrech fu ddibaid,
  Gwarchodai dros hon dan ofalon, a'u pwys
Yn gofyn holl egni—holl ynni ei enaid;
  Dros hon fe ymbiliai yn daer ac yn ddwys,

Fel tad dros ei blentyn, am gyfran o'r golud
  A rannodd Duw 'r haeledd i fawrion ein tir,
A'r Arglwydd a hoffai gydweithio âg yspryd
  Yn tarddu o burdeb teimladrwydd mor wir.

I mewn i lawenydd ei dyner frawdgarwch
  Gwahoddodd ymddifaid laweroedd trwy 'r wlad;
A "dos" fe a glywodd yn dâl i'w hawddgarwch,
  "I mewn i lawenydd dy Arglwydd" a'th Dad.

Nid rhyfyg rhoi barn am y pren, pan bo'i ffrwythau
  Yn amlwg ardystio ei rinwedd a'i ryw,
Nid rhyfyg yw seilio ein ffydd ar y geiriau
  A'r profion a ddygodd ein Harglwydd i'n clyw.

Fe rodiodd yn uniawn yn neddfau 'i Greawdwr
  Ymgeisiodd am "gamp galwedigaeth" Iôn mawr;
Ei bwys rhodd yn dawel ar haeddiant ei Brynwr;
  Fe drechodd y "gelyn diweddaf" yn awr.

---

a Oedd Drysorydd a phrif Lywydd y Gymdeithas er budd gweddwon Offeiriaid Esgobaeth Llandaf.

Mae 'nawr wedi gorphen ei yrfa dymhestlog
  Hyd lwybrau 'r anialdir, lle 'n teithio 'r ym ni,
O'i lafur mae 'n gorphwys ar ddolydd blodeuog
  Yr hafddydd trag'wyddol yn Nheyrnas ei Ri.

Mae gydâ'i Bryniawdwr ym mro Haleluia,
  Mae palmwydd i'w ddwylaw,—mae'i hardd-
    wisg yn wen;
Mae'n uchel ei ganiad am aberth Calfaria,
  A choron gogoniant am byth ar ei ben.

---

# ENGLYNION

## CYFFES AC ERFYNIAD Y BARDD.

PECHAIS, ennynais yn uniawn—dy lid
    Dyledus, Iôr rhadlawn:
  Cofus wyf, Arglwydd cyfiawn,
  Clyw 'm cyffes, na wnes yn iawn.

Agored dy drugaredd,—O fau Dduw,
    Faddeuant i'm camwedd:
  Na wawried ar f' anwiredd
  Foreu barn pan ddof o'r bedd.

Dy law 'r awr hon dileëd—yn gyfar
    Holl gofiant fy nyled:

Y Rhi mawr! rho ymwared,
Gair i'm cur o gysur gwed.

Tyred â'th Ysbryd tirion—yn lân iawn
Ar linynau 'nghalon:
O! ymgeisiwyf am gyson
Noddfa rad yn neddfau 'r lôn.

Yn wir fuan daw 'm byr fywyd—i ben,
Ei boenau a'i wynfyd;
Diwedd gwê 'm dyddiau i gyd
Yw gorwedd yn y gweryd.

Taer guro wrth ddrws trugaredd—a wnaf,
Mewn ufudd iselwedd;
I'm hyspryd uwch byd a bedd
Duw a ranno 'i dirionedd.

---

## ENGLYNION

I Mr. Jones, Rhydybont, (Llangollen,) ar y Gerdd gyhoeddedig o watwar i'r Offeiriaid, dan yr enw—

"BREUDDWYD CANONAU YR EGLWYS."

A Boenaist fel Esboniwr[a]—yn ofer,
Yn afiach dy ddwndwr?
Dristwaith dygn! a droist o'th dwrr
O Ladin yn Faledwr!

---

[a] Esboniwr ar y Testament Newydd.

Pa fodd? a ballodd y byd—anufudd
Dy nwyfau gymmeryd?
I'w warth, a gyndyn wrthyd
*Bluf* da 'th *bysgotta* i gyd?

Yn lle clod, a chod a chydau—llawnion,
Llawena DIMEIAU,
I gael bwyd o'r 'BREUDDWYD' brau,
A blawdach o'r BALEDAU.

Yn achos llawenychu,—a welit
Ryw wiwles yn tarddu,
O gael canfod diwrnod du
Ein hoff Eglwys yn ffaglu?

Arafa; gâd wrthryfel,—o dwymyn
Tynn dy dymmer uchel:
Gair garw[b] 'i sain rho 'n gain dan gêl;
Dewis yr hyn sydd dawel.

Diwyno Crist'nogion â dannedd—llid,
A lledu ammhuredd,
Du fâr, nid yw glodforedd
Yng ngwawl hoff Efengyl hedd.

Yn ffôl na enlliba ffydd—sy felys
I filoedd trwy'r gwledydd:

---

b Gair garw a gyffry ddigofaint.

Cofia'r gadarn farn *a fydd*,
A llunia yspryd llonydd.

A geisi di ryw gysur—yn oer ing
Awr angeu a'i dolur,
O gollfarnu, sennu'n sur
Gredo dy gyd-greadur?

A gyd-dery gwatwariaith—ag euraidd
Hygaraf fwyneiddiaith
Yr Efengyl? arf ingwaith
Ni fynn urdd ei hyfwyn iaith.

Nesa at ddôr hynawsedd;—gâd feio;
Gwed fwyaf mai ffaeledd
Yw dy ran,—dysg dirionedd
A lleufer hardd llafar hedd.

---

## LLINELLAU

Ar Briodas y Parch. ROBERT M. P. WILLIAMS, M.A., diweddar Gymmrawd (Fellow) o Goleg Iesu, Rhydychain, â HELEN, merch henaf y Parch. William Herbert, Rhiwbren, Ceredigion.

GWENED y Nef yn gynnar—yn addwyn
Gan noddi 'n gyfeillgar
A gwilio rhag un galar
Helen gu a'i hylon gâr.

Dwy chwaer ddien
Ydyw Helen
Fwyn a'r Awen, fin yr eos:
Hir boed itti
A'th ddawn gwisgi
Dy gâr lonni, degwawr linos.

Dy brydferthwch
A dy harddwch
Ceir o degwch Ceredigion:
Cofia deccaf
Ddolydd mwynaf
Glann dwr araf glyndir Aeron.

Diddanwch dedwydd einioes—a brofoch,
Bâr hyfwyn, ac eiloes
O burwedd wedi 'ch berr-oes,
Mewn mad fwyndda wlad ddi loes.

---

## LLINELLAU

**I William Griffiths, Tyhen, Llandyssiliogogo, ar ei waith yn casglu Prydyddiaeth yr hen Evan Thomas Rees, o Lanarth i'w argraffu, yng nghyd â chlod i'r Llyfr.**

William Griffiths fwynlym graffwr,—gwelodd
Yn galed ein cyflwr;
I'n gwlad crynhôdd yn glydwr
Guaf waith hen hygof wr.

'DILIAU'R AWEN' wen ddi warth,—goeth, haf-
aidd.
Gwaith EVAN o Lanarth,
Hebot na foed Deheubarth,
Y mwyn win pêr, mewn un parth.

Os nad ydoedd yn wr dwys nodedig
Mewn dwfn addysg,—os mewn du fynyddig
Le ei anedd; a'i ddwy law ei unig
Wau gynnaliaeth, gwŷs nad un ganolig
Ei ruadwy ferwedig—ffraeth AWEN
O wychaf aden, glau, ddyrchafedig.

*A'r mor i'w olwg*, ei ŵg o eigion
Ei gerwyn rychiawg yn gyrru'n wreichion,
Dysgai 'i Awen ar gywir ddybenion
Gynddeiriogi, gan godi ergydion;
Corniai a baeddai gybyddion—di ffydd;
Ffrwynai â ch'wilydd y ffroenuchelion.

Etto'i dirion fron i'w fri—arweinid
I roi hanes culni
Y rhai yn llwngc chwyrn y lli
A'i naws addoer f'ai'n soddi.

Darluniai'n olau fradau difrodus
Y môr yn dygyfor yn ddigofus:
Dynion rhwng tonnau, wanafau nwyfus,
Yn dolefain mewn arswyd wylofus
Yn sŵn y 'storm resynus—âg angau
Yn tannu'i freichiau i'w toi'n frawychus!

I gethin fyd yn gaethwas—e gwynodd :—
Daeth gogoned deyrnas
O ryddid, yn awr addas
Yr Iôn gwych, i ran y gwas.

O'n byd aeth ymaith ein Bardd,
Uwch dolur a'i gur, a gordd
Gofidiau,—mae'n gwau y gerdd,
Dadol wr, mewn didawl urdd.

---

## AMYNEDD.

"Rhaid i chwi wrth amynedd." Heb. x. 36.

I ddi ffydd gybydd gwibiog
Er lles boed yr aur a'r llôg;
Eu hymyrraeth i'r mawrion,
Eu gwinoedd a'u llysoedd llon;
I minnau boed AMYNEDD
Wiwlan gu, lawen ei gwedd,
I dramwyo drwy 'mywyd
Dan gysuron hon o hyd.
Amynedd! mawr ei mwyniant
A'i grym hoff a'i gwawr ym mhant
Du adfyd,—hyfryd hoywfraint
Yw nawdd hon yn nyddiau haint.
DOETHINEB odiaeth union
O wawr lwys, yw ei chwaer lon:

Hwylus y ddiddanus ddwy
Rhodiant er llif rhuadwy
Y gofid, gan iawn gyfarch
Duw 'r nefoedd wen, perchen parch.
Tawel yn wyneb tywydd
Tymhestlog, gynddeiriog ddydd,
Iawn ddodant ffydd yn ddidwyll
Yn Iôr pur, yn wâr eu pwyll;
Gwelant nad yw ffyrdd gwaywloes,
A chyni, a chri a chroes,
Ond o drefniad difrad da
Yr hyfwyn fawr JEHOFA,
A gâr ei blant dan gur blin,
A gwarrawg donnau gerwin
Trallod caeth; tra helaeth hynt
Trawsder yn fawrserch trostynt.

Os, â'i enaid heb synwyr,
Y gwael faban gwan nis gŵyr
Er mor llym yw grym ei gri
Y gwiw reswm o groesi
Ei wyllys,—ac os ollol
Wêl y da mewn sylwad ôl,—
Onid doeth rhoi ar ein Tad,
Wiwdda Ben, ymddibyniad,—
Rhoi 'n isel dawel, bob dydd,
Ein gwarrau dan ei gerydd,—
Yn y llaid dyrchafu 'n llef
I dirionwch Duw 'r wiwnef,—

Addef heb fraw yn llawen
Dan warth byd. Duw'n eorth Ben,—
Aml leisio clod melyswych
O bydew gwae i'r Bod gwych,—
Groesawi heb si na sen
Eli ei fad wïalen,—
O wely claf eilio clod
Diachwyn i'r Duw uchod.
Gwell ydyw dan golledion
A gawn ni yn gosp gan Iôn,
Holi 'n bai,—hwylio 'n bywyd
I'n llai friw, yn well i'w fryd,—
Ceisio deall pa wallau,
Pa feddylion gweigion, gau,
Fu'n achos anfon ochain
Erchyll drist ac archoll drain.

Duw a ŵyr yn llwyr ein lles,—
Gwae oerllym er ein gwirlles
O'i rad yn arbenig rodd
A enfyn, fel o'i anfodd.
Os einioes sydd dros ennyd,
Os brau yw holl bethau 'r byd,
Ac oes arall gysurol
I ni yn nef wen yn ol,
A fyth barhâ 'n feithber ŵyl
Yn Seion union anwyl.
Beth yw cur a dolur dig
A dery braidd ond orig?

Yn lew os goddefid loes
Unawr, i brynu einioes,
O gyfoeth na ddoi gofid
I roi arnaw law o lid,
Pwy ar daith i'r lwysfaith wlad,
A'i llewyrch fry uwch lleuad—
Salem, na welwys wylo
Nac un brath na gwayw 'n ei bro,—
Pwy heb fai gwynai is gwŷn
Niweidiol *un* munudyn?

Iôr a ràn yr orau rodd
Burfwyn, i bawb o'i wirfodd:
Rhwyddwych mae ef yn rhoddi,
Duw y nef, bob da i ni:
Teganau yn toi gwenwyn
Yw a ball a chall ni chwyn:
Deallus yw ef,—deillion
Ym ninnau,—dan iau ein Iôn,
Ufuddwych oll a fyddom,
A balch o'n Llywydd y b'om.
Yn athrofa o dda ddysg
Hygarddoeth Ben y gwirddysg
Yr ydym,—call in' rodio,
Lles iach, i'w ewyllys o.
Os gwel dyn fraint ysgol Duw,
Gerwineb gwg yr annuw,
Anufuddion i feddwl
Ac iau Ner, a'u digter dwl,
Fe gashâ,—ac fe gais hedd
Ym monwes hoff Amynedd.

## BEDD FY MHLENTYN.

Y MAE llangciau a llangcesi
  Yn llon godi llawen gân:
Y mae 'r byd o hyd yn dilyn
  Ei helyntion mawr a mân,—
Minnau sydd yn trist gwynfannu,
  Och! yn waelaidd iawn fy 'stad,
Ac yn meddwl gyda hiraeth
  Byth am *fedd fy mhlentyn* mad.

Pan ofynir beth yw 'm syniad
  Am y newydd hwn neu'r llall,
Mae fy synwyr a'm hamgyffred
  Yn fy 'menydd braidd ar ball:
Yn yr unlle mae fy meddwl
  Lle mae 'n unig im' fwynhâd,—
Yn y fynwent brudd a distaw
  Lle mae *bedd fy mhlentyn* mad.

Wrth ymdeithio, mynych syllaf
  Dros y coed a'r caeau pell,
Ar yr eglwys a'r lâs fynwent,
  Gerllaw 'r rhai mewn cyfyng gell
Y mae 'r un ddangosai immi
  Yn ei wedd wir wedd ei dad,—
Un fu 'n gwenu arnaf ganwaith;
  Cofiaf *fedd fy mhlentyn* mad.

Ganol nos, mae golau 'r lleuad
  Yn fy nghaffael ar ddihûn,
Pan trwy gwsg mae daearolion
  Yn anghofio cur a gwŷn:
Mi nid allaf gauad amrant;
  Hed fy meddwl heb nacâd
Tua 'r dawel fangre bruddaidd,
  Lle mae *bedd fy mhlentyn* mad.

Chwi, awelon, sy'n cusanu
  Llysiau 'i feddrod ar eich taith,
Ac yn dwyn ar eich adenydd
  Wlith yn fwyn gafodydd llaith,
D'wedwch wrtho fod fy meddwl
  Yn ymweled heb lesgâd,
Cyn fynyched ag ych chwithau
  A chul *fedd fy mhlentyn* mad.

Tithau, heulwen, pan yn twymo,
  Ganol dydd, ei drigfan ef,
Gan belydru 'n llon a disglaer,
  Heb un cwmmwl ar y nef,
Dywed wrtho nad yw 'th fawrwres
  (D'wedi wir nad oes a'i gwâd,)
Gymmaint ag yw gwres fy nwyfron
  I at *fedd fy mhlentyn* mad.

# RHYFEL.

Yn fwyn wych cân, f' Awen wâr—i Ryfel,
Oer ofid ein daear;
Dangos i fyd ingus fâr
Yr haint hwn trwy 'i hynt anwar.

Ei druenuswaith a wna deyrnasoedd
O'u ffaeth lewyrch yn ddiffeith-leoedd,
Dwg euraid olau gnydawg ardaloedd
O olud eres yn anialdiroedd:
Hoff eirianwych ddyffrynoedd—toreithiog,
Llydain welltog, ddyd yn llwydion wylltoedd.

Cur rhygroes a gwaywloes i'r trigolion;
Yn lle blagur gwel'd dur ar gefn taerion
Yn erchyll bicellau, saethau sythion—
Lle bu 'r gwiw lanwellt llwybrau gelynion—
Lle bu 'r ddiddan gân, oer gwynion,—criau,
Llef achwyniadau—llif o och'neidion.

Oernadau gwragedd galarus gweddwon
Dan gafodydd o donnawg ofidion;
Rhieni a dufraw 'n rhan i'w dwyfron,—
Plant am eu tadau 'n rhoi criau croywon,—
Culwae i lawer calon—friwedig
A drylliedig gan chwerwaf drallodion.

Ow! gur i astud feddylgar Gristion—
Gwel'd cludo arfau 'n donnau—lladd dynion,
Erwin iawn alar, i *rai* 'n anwylion:
Gwayw addoer gweled troi yn gigyddion
I'w gilydd fel dig alon—wyr mwynfad,
Na b'ai un dufrad yn boen i'w dwyfron!

Cynddaredd rhwng cain ddewrwyr,—eu gilydd
Nas gwelent yn fradwyr
*Hyd hyn*, nac anghytunwyr,
Ond di'mryson, wirion wyr,—

Gwyr a enwid am fyg rinwedd—(gwiwnaws
Lle 'u ganed,)—a haeledd:
A gwiwlan wych ymgeledd
I gleifion gweinion eu gwedd.

F' Awen dawel, gwel faes y gwaed;—meirwon
Mewn môr hagr o ruddwaed,—
Gwychweis mewn llif o gochwaed,
A'u drych yn isel dan draed!

Mwg a niwl yn amgylchu magnelau,—
Hyll swn anniddan—tân yn felltenau,—
Plwm-beli chwyrnddig—arbennig boenau,—
Culwedd ofid, hylldrwst cleddyfau,—
Gweryriad trwy 'r gororau—meirch rhestrawg
A'u ffriw ewynawg â thân o'u ffroenau,—

Meginau annwn â swn gresynawl,—
Hyll blâ 'n chwythu yn wŷn du andwyawl,—
Dewrion freichiau, ysgeiriau gweis gwrawl
Yn frau wywon ddarnau anaddurnawl,—
Llorio llu yn hyll arwawl—â min cledd
Nes troi eu gwedd i ddunos tragwyddawl!

Hygar fael a gorfoledd—i'r angau
Oer ingus yw 'r hyllwedd,—
Cael dan y sarn yn garnedd
Lu o'r byd i wael lawr bedd.

Yn ysig dyd yr hanesion—celyd
Lawer culwys ddwyfron,—
Gweli yn llethu 'r galon,
Gwyniau a brath i gàn bron!

---

## ER DY FWYN.

Goddefwn i'r curwlaw ergydio fy iâd,
Goddefwn galedwaith yn isel fy 'stâd,
Goddefwn alltudiaeth yn mhell dros y dòn,
A chael 'nol dychwelyd dy wenau di 'n llon;
Ferch, ferch, lawn swyn,
Goddefwn ryw lawer o faich er dy fwyn.

Goddefwn drwm drallod â'i gafod o gur,
Goddefwn hyll drawsedd â'i ddannedd o ddur,

Goddefwn yn ddifyr rhag niwaid i ti
Fod beunydd mewn perygl fy mywyd i mi,—
Ferch, ferch, lawn swyn,
Goddefwn ryw lawer o faich er dy fwyn.

Dy siarad mor siriol, dy olwg mor hardd,
(Ni welwyd un rhosyn cyn laned mewn gardd,)
Dy irwallt plethedig, dy landeg ddwy rudd,
Sy'n gwneuthur fy mynwes gan hiraeth yn brudd;
Ferch, ferch, lawn swyn,
Goddefwn ryw lawer o faich er dy fwyn.

Dy agwedd ddiniwaid, dy lygaid, dy lais,
Sy'n gyrru piccellau o fawrserch trwy f' ais,—
Fel golau 'r hardd wenlloer i deithiwr mewn nos
Yw 'th wên a'th serchogrwydd i mi, feinir dlos:
Ferch, ferch, lawn swyn,
Goddefwn ryw lawer o faich er dy fwyn.

---

## BORE'R BRIODAS.

Fe wawriodd y Bore arbennig ei bwys,—
Mae 'r amser yn brysur, nid difyr, ond dwys:
Bydd allwedd f'ewyllys gan arall ar fyr;
Ymbwyllwch, feddyliau, neu 'm calon a dyr.

Mi gofiaf yr oriau nad oedd gennyf well
Un bachgen nag arall trwy 'r ardal ym mhell:
Eu cael neu eu colli un argraff ni wnai;
Mi ganwn mor llawen â'r gôg ym mis Mai.

Fy nghalon, fy nghalon, pa fodd aist fel hyn?
Pa beth sy'n dy rwymo di heddyw mor dŷn?
Ni ddaw un llawenydd yn agos i'th gêll;
Y gân a'r gorfoledd, ciliasant ym mhell.

Y bechgyn a'r merched llon llawen a ddaw
Yn fuan i weled cael clymmu fy llaw:
Pan rwymid rhai eraill bum lawen fy hun;
Yr awr'on fy mynwes o'r gwaelod a grŷn.

Rhed trwyddwyf ryw deimlad na theimlais o'i fath
A bair immi wyniau a briwiau a brath:
Serchogrwydd twymwresog a draidd trwy fy iâd
At fangre fy mebyd—hen annedd fy nhad.

Gad immi 'th gofleidio, fy chwaer dyner wych,—
Mae 'r dagrau 'n fy nadael i 'mdrwsio 'n y drych:
Mae cof am gyfeillach boreuddydd ein hoes
Yn dwyn i'm meddyliau drwm lwythau o loes.

Fy mam addfwyn dirion, cofleidia dy ferch,—
Rhed attat trwy 'm mynwes afonydd o serch:
O boed fy myd newydd mor ddedwydd i mi
A'r dyddiau a dreuliais, fy mam, gyda thi.

Fy nhad anwyl dirion, cofleidia fi, 'nhad,—
Mae hiraeth yn brathu 'i biccellau trwy'm iâd;
O! rheded fy mywyd mor esmwyth i mi
A'r oriau a dreuliais, fy nhad, gyda thi.

Ond gwreiddiau fy nghalon sy'n rhwym gan yr
un
A swynodd fy enaid â harddwch ei lun;
Beth bynnag fy rhan mi ymunaf ag ef,
A 'ngobaith beunyddiol ar Lywydd y nef.

---

# BORE HAF.

Mor llawen yw fy mywyd
Ar hyfryd foreu Haf,—
Y ddaear oll yn firain
Mewn agwedd gain a gâf:
I sylw pawb yn amlwg
Mor hardd ei golwg wiw
Mewn clog o harddwych urddas,
A hwnnw 'n las ei liw.

Yr adar mân â'u cerddi
Ar ben y llwyni 'n llon,
Cyfrannant lân ddifyrwch,
Hyfrydwch mwyn i'r fron;
Y gwisgi geiliog mwyalch,
Aderyn balch ei big,
A'r lanwedd fronfraith dirion
Drwy'r burlan wiwlon wig.

Mor siriol yw y coedydd
  A'r glennydd dan y gwlith,—
Y blodau 'n harddwych wisgo
  Pob rhan o'r fro yn frith;
Ymdorriad haul o'r dwyrain
  A'i wedd yn gain a gwych,
Yn rhoddi teg arwyddion
  O ddydd nawseiddlon sych,—

Holl Anian yn ymlonni,—
  Y wennol heini 'i hynt
Trwy 'r iachus awyr denau
  Yn bywiog wau 'n y gwynt,—
Uchedydd ar iach aden
  Fry yn y nen i Naf
Yn offrwm clod yn wresog
  Ar foreu heuliog Haf.

Yr awel gan gusanu
  Per flodau lu dros lawr,
A sychu 'r gwlith boreuol,
  A rydd iach swynol sawr,—
Yn gweini meddyginiaeth
  Yn helaeth a mwynhâd,
Na ŵyr ond dynion dedwydd
  Sy'n byw mewn glennydd gwlad.

I odro 'r defaid mwyngu
  Dan ganu 'n bêr â Gwen,
A cherdd am gariad cywir,
  Hoff feinir, ddaw o'i phen:

Y mae hi 'n lân galonog,
  Y wisgi fywiog ferch,—
I'w rhan na ddeued dolur,
  Na thaliad sur i'w serch.

Mor llon y geilw 'r bugail
  Draw at y gail ei gŵn,—
Daw rhywbeth yn ddiddanus,
  Gysurus im' o'r swn:
Efe ni ŵyr am dristedd,
  Na chwerwedd, croes, na chur,
Sy 'n gwywo canol-einioes,
  Neu ddyrys henoes sur.

Y gweithiwr wyneb-druan
  Sy'n myn'd o'i gaban gwiw,
A'i ben i lawr dan dristyd
  Yn llesg ar hyd y rhiw,—
Myfyrio mae ar wychedd
  A gwynfyd bonedd byd,
Tra 'r rhei 'ny 'n waeth nâg yntau
  Dan hyllig waeau'i gyd.

---

D.S.—Y Gerdd uchod, er nad yw ar un o Bedwar Mesur ar hugain Barddoniaeth, sydd wedi ei chyfansoddi drwyddi yn ol cynnifrwydd rheolau y gelfyddyd, ar y Gynghanedd Sain, i ddynwared hen ddull cywrain Cadair Morganwg. Gwel *Cyfriniach y Beirdd*, gan Iolo Morganwg, tudalen 164.

# DWY CHWAER DDEDWYDDAF OEDDYNT.

Dwy chwaer ddedwyddaf oeddynt,
  Mewn diball hynt mor llon
A'r ŵyn sy 'n chwareu 'n fywiog,
  Ar ael y frigog fron,
Gwawr iechyd ar eu gruddiau,
  O'u genau llais y gân
A geid yn geinwych gynnes,
  Ddwy ddifyr lodes lân.

Hwy ddygent fywyd mwynrydd,
  Da beunydd a di boen,
A'u hagwedd fel ewigod,
  Yn llawn o hynod hoen,
Dwy chwaer ddedwyddaf oeddynt;
  Ond helynt *bore* 'u hoes
Oedd hwn,—yr hanes heno
  Ti gei ond gwrando 'n groes.

Priododd un yn gynnar—
  (Edifar yw o'r dydd)
Ryw adyn caled-galon,
  A'i eiriau'n surion sydd,—
Ei dwyrudd sydd yn rhuchiog
  Gan donnog lif a dardd
O'i llygad, feinwen hyglod,
  A fu mor hynod hardd.

Edwino mae'i 'n rhy gynnar;
  Mae galar yn ei gwedd
Yn dyst ei bod hi, druan!
  Ar fuan daith i fedd.
Ail ydyw i flodeuyn
  Neu hardd lysieuyn syw,
A dorodd y pladurwr
  I egwan gyflwr gwyw.

Y llall ga'dd gymmar gwiwlan;
  Ond buan troes y byd
Yn bwn o dlodi arnynt,
  A'i helynt sydd o hyd
Yn llwytho 'i thirion yspryd,
  Dan lymfyd blin i lawr;
Rhyfeddaf wrth fyfyrio
  Y gwywo wnaeth ei gwawr!

Mae galar yn ei bwthyn
  A newyn tost a nych,—
Wrth ganfod mil a gwynfan,
  Mor druan yw ei drych:
A'i phlantos mân o'i deutu
  Heb feddu iddynt fwyd,
Mewn cyflwr eithaf gorthrwm,
  A'u gwedd yn llwm a llwyd.

Dwy chwaer ddedwyddaf oeddynt;—
  Wrth gofio gynt eu gwedd,
Rhyw ddwys fyfyrdod dirfawr
  A phrudd-der mawr a'm medd;

Ryfeddawl newidiadau
  A gwaeau tost a gwŷn
A ddaw mewn byr flynyddau,
  Sy'n gwneuthur dyddiau dyn!

---

# GORFOLEDD

## AM GAEL Y CYNHAUAF ADREF.

Ar y Dôn "Clod i'r Haf."

Yn yr ydlan y mae 'r ŷd
Heb fawr bali na gwall i gyd;
Mynnu 'n burlon, heb drafferthion,
Hoen i'n bron mae heno 'n bryd,—
Pryd i ni ymdorri 'n dân,
Pryd i wisgi godi 'r gân,
Wrth wel'd hyfryd ffon y bywyd
Oll yng nghyd yn glŷd a glân.

'Nol rhoi'r had îs torriad tir
Ofnwyd gwaeau heintiau 'n hir:
Cadd dan ddiran hin anniddan
Gŵyn yn wan, eginyn îr:
Ofnwyd llwydrew, caeth-rew cas,—
Heulwen gref yn poethi 'n gras,
A'i belydrau 'n llosgi 'r llysiau
Ar y bryniau a'r doldir bras.

Y gwenithyn gwael a gwàn,
Gula, drych, ga'dd galed ran,—
Eira drosto—rhew 'n ei wywo,
'N nadael iddo dd'od i'r làn;
Y gogleddwynt, surwynt sych,
Awel Chwefror oer ei nych,
Roent i'r hwsmon wan-obeithion,
Dorrai 'r galon fwyaf gwych.

Cnwd y maesydd glanrydd, glwys,
Wedi hodi, llenwi 'n llwys;
Ofnwyd drosto 'r gwyntoedd gwallgo'
Rhag ei gornio i lawr i'r gŵys:
Lawer noswaith, wirfaith wŷn,
Buwyd heb adnabod hûn,
Rhag ofn iddo gael ei rwygo
A'i draws-lorio—dyrys lun.

Eilwaith wedi 'i fedi e fu
Ofni beunydd dywydd du,—
Troi golygon dan drafferthion
(Braw 'n y fron) i'r wybren fry:
Heno 'n gain er hyn i gyd,
Dymmor iach, dan dô mae'r ŷd,—
Canwn garol, heno 'n siriol
O gynnesol, frawdol fryd.

Daeth dan lwys a glanddwys glo
Gnwd y maesydd dedwydd, do;
Teimler gwynfyd heb gintachlyd
Ofnau drygfyd blin am dro:

Cân o galon rwyddlon, rydd,
Rhown fel adar gwâr o'r gwŷdd;
Hyn yn fuddiol a naturiol
A rhesymol inni sydd.

Gauaf dig ar fyr y daw—
Oerion gesair, gwlybder, gwlaw,
Diffrwyth faesydd—llwydion ddolydd,
Byd yn llonydd ar bob llaw;
Caib a rhaw cânt heibio 'u rhoi,
Dae'r a'i chlawr fydd wedi 'i chloi,
Eira, oerfel, 'stormydd uchel,
Dyn yn ffel at dân yn ffoi.

B'le bydd trysor didor, da,
Dyn yn awr rhag blinfawr bla?
Yn ei ydlan ddiddos, ddiddan,
Cyfoeth cyfan hoywlan ha':
Heb yr ydlan fwynlan, fad,
Caled f'ai heb lai ar wlad,
Gwaeau newyn a wnai 'n sydyn
Einioes dyn yn wan ei 'stâd.

# ANNERCH

I Mr. J. M. Jones, (Ioan Cunllo,) Rhyd-Lewis, Ceredigion, Medi 26ain, 1834.

Llawn archwaeth yw llon orchwyl
D' awen hardd mewn dien hwyl:
Medri wau myg olau gân
Gadwynol—gwead anian.
Nid sothach ydyw saethau
Hylew teg y meddwl tau:
Poen y tir yw pentyrwyr
Geiriau gweigion, waelion wŷr.
Naturiol mewn hynt eirian,
A di gŵl yw y dau gân;
Ymarfer mwy â mawrfaith
Ddysg Awen gymmen ei gwaith.
Trueni,—dattroi anian
Yw i ti a oesi tàn
Gwmmwl, ag itti gymmaint
O frwd awenyddol fraint.
Gafael ar fyd a'i gyfoeth
Gwyw, un awr, a'th gâ yn noeth:
O weini trwy 'r Awenydd
Hardd les yn dês yn ein dydd,
Daw gobaith am deg wiwber
Iachus wobr mwyn wlad uwch ser.

Y Deau yn Fardd diwyd,
Goleua, hardda o hyd:
Rhagorwaith, ceinwaith, caniad,
I fyrdd arddangos yn fad:

Hyn a fedri,—gwyddi gerth,
Hoywbur redfa iaith brydferth;
Iaith amlwg, bur, â theimlad
Ynddi, a feddi yn fad:
Ym mlaen â thi;—ymlyna
Yn goeth deg wrth y gwaith da;
Mewn bri a byddi 'n ben Bardd,
Llawn o degwch—llon digardd.

---

## ENGLYNION

O Goffadwriaeth am Mr. Thomas Green, Aberaeron.

Tomas Green, twym was i groes—yr Iesu,
  Arosodd yn eirioes;
Anwyl trwy gylch ei einioes
I Dduw 'n rhydd ei ddoniau rhoes.

O'i febyd llwyr fryd ei fron,—wedd irnaws,
  Oedd addurnaw'n gyson
Cristionogaeth, llaeth hoff llon
A da eli duwiolion.

Galwodd yn wresog wiwlan,—yn dirion,
  Bechaduriaid aflan,
O'u trueni trwy anian
I ddifai lwys noddfa lân.

Yn glau pob rhanau rhinwedd—yn lanwych,
Dilynodd mewn gwiredd;
Carai a mawr hoffai hedd,
A nofiai fôr tangnefedd.

Teilwng gan bawb trwy'n talaeth—'ei parchwyd
Fel perchen gwybodaeth;
A thrwy ei lân athrawiaeth
Llad i ddyn yn llaw Duw ddaeth.

Yn gyfiawn hwn a gofir,—ei foliant
Gan filoedd a daenir;
Wr nôd, ei glod a gludir
Trwy gân oes yn trigo'n ir.

Canu y mae uwch cwynion,—uwch gofid,
Uwch gafael trafferthion,
Is awyr iachus Seion,
Fab rhinwedd, yn annedd Iôn.

Boed taw i wylaw ar ol—y rhai da;
Yn nhre' deg ragorol
Y trigant, uwch hynt rwygol,
Ar feillionawg ddeiliawg ddôl.

Hwynt-hwy am byth mwy'n llu mad—a yfant
O afon gwin cariad;
Goreu lles a gwir wellhad
Dios, eu hymadawiad.

Ymadawiad yw am deiau—euraidd,
Heirdd araul drigfanau,
Lle mae i'r Iôr gôr yn gwau
Cân anwyl mewn cain ynau.

---

# ENGLYNION

**O ddiolchgarwch i Feirdd Gwynedd: a draddodwyd ar gyhoedd Eisteddfod Caerfyrddin, 1819.**

I gcinion Brif-feirdd Gwynedd—yn wych glau,
Rhowch glod yn gyfrodedd;
Yng Nghaerfyrddin iesin wedd,
Rhodiant mewn mawr anrhydedd.

Gan deithio gwiw iawn y daethant,--gwir Feirdd,
I Gaerfyrddin wen-gant;
Diolwch boed yn daliant
Yn wir fwyn i'r rhai'n ar fant.

---

## ATEB GWALLTER MECHAIN I'R UNRHYW.

"CALON wrth galon" heb gelu—'wyllys
Cyfeillach trwy Gymru,
A Gwynedd wna gyd-ganu
Da anwyl ddawn Daniel Ddu.

# CYWYDD Y CYMMOD.

[Bu peth anghydfod, ac oerfelgarwch o'r herwydd, rhwng Daniel Ddu a Ioan Tegid, o barth Llythyrineth y Gymraeg; ac wedi cryn ddistawrwydd o'r ddau du, anfonodd Tegid yr Englyn canlynol at ei gyfaill:

Ar ol ymladd, lladd, a llid,—a phob croes;
Rhyw oerloes; hir erlid;
Tagu, llindagu Tegid;
Er da! dattoder y did.

Bu hyn yn achlysur o ysgrifenu y Cywydd canlynol:]

Rhyw ingus ddadl fu rhyngom,
A ffrwd lleferydd rhy ffrom;
Llefwaith yng nghylch sillafu
Yn iawn, ein hiaith geinlawn gu:
Os anwyl a glwys inni
Ein mwyn iaith, a'i haraith hi,
Na fydded hynny'n foddion
I faeddu na llaesu llon
Gyfeillach fwyniach a fu
Rhyngom yn hir ehangu.

Boreu 'n hoes fu'n burion hedd;
Diau nyni ein deuwedd
Gwelwyd yn llonni 'n gilydd
Dan fad wên yr Awen rydd,
Ym mhell o wlad ein tadau,
Yn Rhydychen, burwen bau:

O fewn y beraidd fwyn-ardd,
Du fodd, ni chaid ond *dau* fardd;
Dim ond dau gorau'n cael gwên
Y rywiog lwysber Awen:
Ni adwaenai o'r dynion
*Un* ond *ni*, y lili lon,
Tegid diflin a minnau
Dan y gwŷdd cerdd fad yn gwau.

Dau oeddym o dueddiad
Eirian glwys i garu'n gwlad;
A siarad am gysurol
Hen Gymru lân, ddiddan ddôl,
A gynnwysai'n gain iesin
Oll in' oedd ail llonaidd win.

Hyn cofiwn; rhoddwn yn rhydd
O galon law i'n gilydd.

DANIEL DDU.

*Maesmynach, Mehefin* 16, 1834.

---

**Ar ol hyn derbyniodd y Bardd Du y Cywydd canlynol:**

DY gywydd, gwaith celfydd coeth,
Cefais; nid rhaid gwell cyfoeth;
Cywydd o dda ddefnydd yw,
A chadarn iaith serch ydyw;
Cywydd newydd, iawn wead,
O ddawn glos[a] pen bardd ein gwlad;

---

a *Clws*, rhyw wr.; *clos*, rhyw fen., yn cyfateb *tlws*, *tlos*. —TEGID.

Da genyf dy deg annerch,
A thrwy oes y'th eiriau serch;
Dy law yn fy llaw yn llon
(Gwel, Daniel, friwiau 'r galon,)
Derbyniaf; gwelaf, wr gwych!
Dy ddagrau; dy wedd ogrych;
Bellach, ïe, bellach byth,
Er gwae a fu, 'n dragyfyth,
Calon wrth galon gwelir;
A chwai hwynt a iachëir.
Ar ol nos oer, wele 'n awr[b]
Oleu curwedd, dysglaerwawr;
Buom â chalon drom dro,
Drwy gamrwysg, hydr Gymro:
Gwae o'r dydd caed geiriau du,
Neu an fwyn ysgrifenu;
Bellach, canu'n iach gwnawn ni,
Drwy genad, i'r drygioni;
A'i adael i gael amgeledd
*Bruce Knight*, gwr barus o Nedd.[c]

TEGID.

*Rhydychain. Mehefin* 27, 1834

---

*b* Felly yn y *Cylchgrawn*, ond yn *Ngwaith Barddonawl Tegid* fel hyn y saif y llinell:

"Ar ol nos hir rhy wela 'n awr."

*c* Nid yw y ddwy linell olaf yn argraffedig yn y *Cylchgrawn*, ond ceir hwynt yng *Ngwaith* Tegid. Gadawyd hwynt allan, ond odid, o'r *Cylchgrawn*, gan fod y Parch. W. Bruce Knight, gwrthwynebydd Tegid ar Lythyraeth yr Iaith Gymraeg, y pryd hwnw (1834) yn fyw.

# CYWYDD

## I GYWYDDAU Y CYMMOD.

NI wedd i Awenyddion
Ymgecru, sathru, a son
Y naill am y llall, mewn llid,
"Rhyw oerloes a hir erlid;"
Geiriau mwynder, grym undeb,
Beirdd ein gwlad, yn anad neb,
A ddylent gywir ddilyn,—
Heddwch yw dedwyddwch dyn;
Brawdgarwch sydd brid goron,
I bawb baich yw byw heb hon,
Draig annwn, llawn drygioni,
Ydyw cnul a'i helbul hi;
Nwyd anwar, llawn dewiniaeth
Uffern, yw hen gynhen gaeth:
Dinystr a gais ei dannedd,
A maith glwyf yw moethau 'i gwledd;
Afradu pob hyfrydwaith
Ydyw swm ei dewis waith:
Gochelyd rhag ei choledd
A'i dwyn y b'om hyd ein bedd.

Er digio 'n frau o Degid,
Rhoi lle i chwerwder a llid,
Ni fynai (rhyglyddai glod,)
Ymgomio wna'i am gymmod;
Gan estyn llaw, feinlaw fwyn,
I'w hen gyfaill yn gufwyn;

A Daniel, yn dawel deg,
Gofleidiai 'r cyfle hoewdeg,
I dda iach ymheddychu
A hen gâr, oedd fyth yn gu;
Yn llon fwyn, mewn llawen fodd
Hapus, llaw Tegid gipiodd;
Yna 'n hoenus, foddus, fad,
Gwiriai 'r naill i'r llall gariad.
"Y did dattodwyd er da,"
Hyfrydfwyn a fu 'r oedfa:
Hen gyfeillach rwyddiach, rydd,
Galwent i gof eu gilydd;
Iawn deimlent ryw hen dwymlon
Wŷth serch yn cynneu, wrth son
Am yr amser pêr fu, pan
Ydd oeddynt yn mro ddiddan
Rhydychen, dan gangen gwŷdd
Yn gwiwlon fwynhau 'u gilydd,
A gwynias hyfryd gwenau
Awen bêr yr hen lon bau.

Heb ail gweryl, blaguro
Mwyach eu cyfeillach fo.

Ioan Cunllo.

# ENGLYNION

**Mewn dull o ddiolchgarwch am anrheg o Saith o Ffyn, a ddanfonwyd i'r Awdwr, gan Mr. David Lewis, o Aberystwyth.**

Saith o Ffyn syth, hoff anwyl,—a gefais,
Mae 'n gyfiawn y gorchwyl
O roi clod, mewn hynod hwyl,
O'r puraf ar y perwyl.

Un o honynt sydd yn hynod—ei maint,
I mi mewn llaw 'n barod,
I falu pen gwylltfilod,
A diau byth da ei bod.

Gelyn i'm dilyn os daw—â'i fwriad
Oferwag i'm 'speiliaw,
Ffol wr! e gaiff ei loriaw
Yn isel—yn bêl mewn baw.

Digon yw'r gollen degwedd—o gymmorth
I rwydd gammu 'n rhyfedd;
Cnwppa gwynwawr llyfn mawr medd;
Cwymp darw mewn camp dewredd.

Cynddeiriog gŵn hi a ddyry—'n fân-ûs
Tyr fwnwgl arth dewrgry';
Nâd ladron taerion i'r tŷ;
Haint yw hon—gwyddant hynny.

Rhodd Lewis, wr rhwydd lawen,—yw'r union,
Eirianwych ffyn dien;
Derbyn wna, 'n llon, gyda gwên,
Ddiolch fy afrwydd Awen.

Ewyllys fy nghyfeillion—anwylaidd,
Iawn welaf yr awrhon
Yn degwedd yw rhoi digon
I'r Du Fardd o'r hardd oes hon.

---

## ENGLYNION

I LEWIS HERBERT, Rhyd y Fuddai, Llanarth, Ceredigion, Adgyweirydd Simneiau myglyd.[a]

GYRU y mwg drwg i'w dre'—'n wiw lawen
Wna Lewis ym mhob-lle;
Syflyd gaiff wneyd o'i safle
Ar hynt gyda'r gwynt ag e.

Tewfwg oedd yma 'n tyfu—yn fintai,
Yn fantell o fagddu;
Gwnaeth y gwr i'r hen dŵr du,
Iach helynt, i ymchwalu.

---

[a] Lewis Herbert ydoedd Saer Maen, cywreiniach nâ'r cyffredin yn ei ddydd. Dyn bychan gwargrwth ydoedd, â phwtyn o bibell yn myggu yn wastad yn ei geg. Bu farw yn y flwyddyn 1839. Ymddengys iddo fod ryw dro, yn gosod hwyl a threfn ar y Simneiau ym Maes y Mynach, neu ym Maes Newydd, ac mai ar yr achlysur hwnw y cyfansoddwyd yr Englynion.

Lle bo'r gwr, clydwr mwyn clau,—yn gweithio,
Gwiw ethawl ei ddoniau,
Mewn awydd y simneiau
Fydd i hwn yn ufuddhau.

---

## TAITH NICK;

**Neu yr Ysbryd drwg yn ymweled â'r Ddaear.**

Ryw fore, *Nick* a drodd
O'i nyth, mewn dillad cochion,
I edrych sut yr o'dd
Y ddaear a'i thrigolion:
Yn gorwedd yn y clawdd,
Fe welai ryw ddyn meddw;
A *Nick* a wedai'n hawdd,—
"Peth goreu wnes yw cwrw."

Pan 'r oedd eu gwŷr o dre',
Fe ganfu bedair menyw,
Yng nghyd yn yfed tê,
Gan adrodd clec yn salw;
"Yn union" ebe fe,—
"Er bod fy nhŷ o'r mwya',
Nis gwn oes genyf le
I gyd i'r genel yma."

Yn nesaf yn y cwrdd,
  Yn glau fe ganfu eneth
Yn edrych am ei hwrdd,
  Heb feddwl am y bregeth;
Ac arall wrth ei chap,
  'N ei *bino* mewn lle dirgel;
A *Nick* a wedai'n chwap,—
  "Mae 'nheyrnas etto'n ddiogel."

Yn rhifo arian hen,
  Fe ganfu ryw hen gybydd;
Dywedai *Nick* ar wên,—
  "Mi fynaf ffwrnais newydd;
Ni welaf yn y byd
  Mwy 'u hawydd nâ'r cybyddion;
Pe caffent hwn i gyd,
  Ni welent byth mo'u digon."

Fe welai Ustus tew
  Yn derbyn pedair hwyad,
Gan *Sion* o *Bant-y-Rhew*,
  A gur'sai *Dwm Bant-Dafad*;
A dwedai *Nick* ar hyn,
  Yn glau a llawen ddigon,—
"'Rwy'n hoffi yn y llyn,
  Gwmpeini gwyr bon'ddigion."

Yn gorwedd ar y llawr,
  Yn agos i gyfreithiwr,
Fe ganfu neidr fawr,
  A honno yn y parlwr;

O chwerthin aeth yn llawn,
  Gan gofio am y 'Sgrythyr,
Sy'n dweud, mai " hyfryd iawn,
  Yw trigo 'nghŷd o frodyr."

Fe glywai garwr bîr
  O'r *pulpid* yn ei wawdio;
*Nick* wedai,—"Cyn pen hir,
  Yn *ffryns* ni fyddwn etto;"
A chlywai *Sion Bant-teg*
  O'r cwrdd 'nol dyfod adre',
I'w wraig yn rhoddi rhêg,
  Am borthi hen wr gwine'.

Fe glywai *Wil Parc-me*
  'N gweddïo 'n faith aflawen,
Ac yn ei boced e
  Swllt drwg ym mherfedd *taten*;
A *Nick* a wedai'n awr,—
  " Mi rof i'r rhai'n fy mendith,
'Does dim ar ddaear fawr,
  'Wy'i 'n hoffi'n fwy nâ rhagrith."

Yn nesaf ar ei daith,
  Mewn caban llawn o dyllau,
Cadd fenyw wrth ei gwaith,
  A'i phlant yn canu hymnau;
Yn salw 'drychai *Nick*,
  Ac aeth i ffwrdd yn union,
Gan ddweyd—" Wel dyma dric,
  Na wnelsai boneddigion."

Yn nesaf i'r *Plas-Mawr,*
  Yr aeth at *'Sgweier Bigbol;*
Fe glywai'i enw'n awr
  Yn barchus a chyfrifol;
Y *cynydd* wrth y cŵn,
  A'r *'Sgweier* wrth ei ddeiliaid,
Oedd am y mwya'u sŵn,
  I alw'r diawl yn danbaid.

'Rol hyny yn *Lan-dwr,*
  Fe glywai bregeth ffyrnig,
Gan un ag oedd yn siwr,
  Ei fod yn etholedig;
A *Nick* a safai draw,
  Gan chwerthin wrtho'i hunan,
Ac aeth i siglo llaw
  A'r gwr pan ddaeth ef allan.

Yn nesaf clybu ddau
  Grefyddwr yn ymgomio,
Y Sgrythyr yn coffhau,
  A'u gilydd yn difrïo:
A d'wedai *Nick*—"Hei ho!
  Mae 'nghalon yn gwresogi;
Nid af i adref dro,
  Mae'r byd mor hyfryd imi."

# ENGLYNION

**Ar Farwolaeth Reuben Davies, (Reuben Brydydd y Coed,) o Danyrallt, ger Cribin, Ceredigion; yr hwn a fu farw Ionawr 8, 1833, yn 25 mlwydd oed.**

Reuben â'i awen a wywodd;—angeu
  Oer ingus a'i cwympodd;
Gwŷn awchus a'i gwanychodd,
Culwae trist i'r clai a'i trôdd.

Oedd Brydydd celfydd mewn cân,—a'i ddoniau
  Yn ddiddanwch purlan;
Cerdd ddifai a luniai'n lân,
Fel eurgainc o fol organ.

Dystawodd,—mud îs tywod,—yr awrhon,
  Yw'r irwas uchelglod;
Galar trwy'r fron o'r gwaelod
I ni, Feirdd, yno ei fod.

E gaewyd yn dragywydd—ar awen
  O rywiog leferydd:
Haf a ddaw, a hwyaf ddydd,
A daw dail i doi dolydd:

Ond o enau Reuben doniol—a gwych
  Ni ddaw gair byth bythol!
Cawn oer waedd cŵyn ar ei ol,
Gulon Brydydd glân brawdol.

Dan awyr un mwy diniwaid—ni fu,
Hyny'n faith oedd danbaid;
Uwch gwely a lletty'r llaid,
Nef anwyl, Naf, i'w enaid.

---

## LLINELLAU

**Ar ymadawiad Elizabeth, merch y diweddar Daniel Williams, Capel Sant Silin, i America, 1844.**

Nid ydyw croesi moroedd
Yn newid calon dyn;
Mae cof am fangre 'i febyd
A gwreiddiau 'i serch yng nglŷn:
Nid all na meithder ymdaith,
Na gwres, na rhew, na gwynt,
Droi 'n ango' 'r aelwyd gynnes
Lle ces fagwraeth gynt.

Mae 'r cof yn fil cyflymach
Nâ gwennol heini 'r gwŷdd;
Os rhwym fydd traed a dwylo
Mae 'r meddwl etto 'n rhydd:
Ar war y lasdon dyner
Heb wel'd ond dwr a nen,
Mae cof am fwynder Cymru
Yn mynych boeni'r pen.

Hiraethaf am yr afon
  Y rhodiais ar ei min;
Hiraethaf am y ffynnon
  Rodd imi ddwr fel gwin;
Hiraethaf am y llwybrau
  O amgylch tŷ fy nhad,
A llawer man a rodiais
  O fewn fy anwyl wlad.

Mae hiraeth mwy nâ 'r cyfan
  Ar ol cyfeillion cu,
Sy'n ol ym mysg hyfrydwch,
  Y wlad adewais i:
Mae hiraeth am fwynderau
  Fy ngwlad y fynyd hon,
Yn toddi gwraidd fy mynwes,
  Wrth gofio 'm ceraint llon.

Ffarwel i Gymru dirion
  A'm holl gyfeillion gwych;
Pob bendith fyddo 'ch cyfran
  Heb ofid, poen, na nych;
Dymunwch chwithau lwyddiant
  I mi'n Amerig draw;
Ffarwel, gyfeillion tyner,
  Yr olaf dro rhowch law.

# ENGLYNION

## AT GYFAILL WRTH YMADAEL A CHYMRU.

Tı ar lan Teifi tyfaist,—a diwyd
  Y Deau goleuaist ;
 Prydyddu 'n anwylgu wnaist.
 Dwysgan reolaidd dysgaist.

Wrth ddwndwr y dwr dan y dail,—iaith bur.
  A'th ben ar y manddail,
 Gwna i'th Ner gerdd bêr heb ail
 Gu lwysddyn, dan y glasddail.

Cymhar ac adar y goedwig—una
  Dy enaid mewn miwsig ;
 Fe 'th gair yn ddiwair heb ddig
 Yn *tiwnio* wrth nant unig.

Minnau yn o glau o'm gwlad—raid fyned,
  'Rhyd fannau digariad
 Oernych! nis gellir dirnad
 Was teg, pa beth fydd fy 'stad.

Dros y môr i draws Amerig—f' allai,
  Af allan yn chwithig,
 Hyll y tro! i fan lle trig
 Diflas hen Indiaid dieflig.

Tra dwrlli 'n pesgi pysgod,—a'n coedydd
Yn cadw 'sgyfarnogod,
I Dafydd bydd yn dyfod
Deilyngaf a glanaf glod.

---

## LLINELLAU

**A gyfansoddodd yr Awdwr, yr hwn oedd yn un o Feirniaid y Cyfansoddiadau a anfonwyd i Eisteddfod Caerdyf, yn y flwyddyn 1834, wedi darllen Cyfansoddiad tra rhagorol a anfonasid o'r Americ i'r Eisteddfod, gan *Galaethfardd Gwawdrydd*, (*Gwenffrwd*, sef Mr. Thomas Lloyd Jones, gynt o Dreffynnon.) Y Cyfansoddiad hwn a gollodd y Tlws yn unig o herwydd ei fod ychydig o linellau yn ychwaneg nâ'r nifer a roddasid allan yn flaenorol.**

BYDD falch, EISTEDDFOD GWENT! mae achos mawr
I ymhyfrydu am mai ti fu'r modd,
Trwy'th haelder canmoladwy, i grynhoi
Heirdd emmau gwerthfawr o bell gonglau'r byd!

Nid bryniau Cymru lwys a'i dolydd hoff
Yw'r unig fannau lle mae enaid cerdd
Gymraeg yn nerthol; draw ti hwnt i'r môr
A'i donnau rhuawg y mae'r AWEN fad
Yn swynaw mynwes Cymro! Wele daeth
O wlad Amerig dros y weilgi groch
Fawryddig waith a'n llonna yng NGHAERDYDD.

Goronwy, gawr Awenydd, haul ei fro,
A aeth yn alltud llesg dros donnau dig
O wlad ei enedigaeth, ac nid oes
Gan Gymru hanes am ei helynt ef,
Ym mhlith estroniaid mewn annifyr wlad,
Lle na chai *Fardd* diddanus iddo'n *frawd!*

Mae '*nawr* gan Gymru enaid,—hi a fedd
Allu i ganfod ac iawn brisio nwyf
A thelediwrwydd gwaith y Prydydd mawr.
Mae'n alar ganddi nad yw llwch y Bardd
Yn orphwysedig yn y wlad ag oedd
Mor anwyl iddo! Y mae dagrau rhai
Yn mynych lifo dros ei grudd i lawr
Pan ddaw i'w meddwl y galarus bryd
Y taflai ef at fryniau hoff ei wlad
Ei olwg olaf! hyfryd gan y rhai'n
F' ai gwybod helynt yr ardderchog wr
Mor fawr a hoffent: gwybod ym mha fodd
Bu llaw Rhagluniaeth yn ymdrin ag ef
Tu draw i'r cefnfor—ym mha ddull y daeth
Y ddyrnod olaf ar ei barchus ben!
Mae gobaith genym am gael gwybod *hyn*
Cyn myned dan y gŵys: Eisteddfod Gwent
A daenodd dros y *byd* ei hesgyll heirdd!
*Hon* o bellderau daear eang faith
A gyrchodd olud goruwch cyfrif gwerth!
Aeth allan Lais Morganwg! awel nef
A'i cludodd ar ei haden lwyswawr hoff
I wledydd tramor,—ac yn atteb mae
Glân blant yr *Awen* dros y lasdon draw!

Mae *'nawr* gan Gymru enaid! ac mae hwn
Yn teimlo dolur fod ar hyn o bryd
O feibion Gwalia *un* ym mhell o'i wlad
Yn plethu'r gerdd ym mhlith estronol lu.
Galaethfardd Gwawdrydd! mae dy eiriau mêl,
Dy addysg ddofn, dy feddwl treiddiol, cryf
Yn gofyn molawd,—tristwch yw dy fod
O'th hoffaidd fro yn alltud blin dy daith!

---

## ENGLYN

**I'r Bardd Cadeiriol, yn Eisteddfod Caerdyf, pan gyhoeddwyd ef yn fuddugoliaethus.**

I Gadair Gwent e'th gododd—d'awenwaith,
Llawn dawnus ymadrodd;
Dy boen yn awr dibenodd,
Wele glyd fyd—*wrth dy fodd!*

---

## ENGLYNION.

### GAIR O GYNGHOR.

Y Gwir yn gywir i gyd—a'i lanwaith,
Dilynwch yn hyfryd;
Holl ffyrdd gau, beiau bywyd,
Eu gwarth dangoswch i gyd.

Cyfiawnder yn bêr eich bwriad,—a'i lwyddiant,
Coleddwch yn wastad,
A dilys y cewch daliad
Ar law eich Ner, dyner Dad.

Yn llwyr dwys synwyr, da son,—a bwnioch
I bennau Esgobion,
Mewn hawddgar a dengar dôn,
A rheswm heb ymryson.

Na chaed sais, a'i lais aflesiol,—anwar,
A'i wyneb rhagrithiol,
Fyth gyfarth o'i faith geufol
Ein hiaith lân mewn ffwdan ffôl.

---

## ENGLYNION

**O Glod i Hwsmoniaeth y Parch. Rees Davies, Penybryn, Dihewyd, Ceredigion.**

Eithinawg dir diffrwyth anial—dygodd
I degwch anhafal:
Fe wnaeth, a daeth iddo 'n dâl,
Fryn hirdwf yn fri'n hardal.

Gwaun bwll, oedd ddu dwll, ddyd allan—laswellt
Melyswych hoffeiddlan:
Henaint ni chred ei hunan
O wir fodd mai'r *un yw'r fan!*

## CYWYDD

### A ANFONODD YR AWDWR AT GYFAILL.

Dafydd, bydd yn dy ofal
Beunydd, tra bo 'r dydd yn dàl;
Cashâ 'r byd gwaedlyd a gau,
A'i lidiog gâs ymbleidiau,
Ei sŵn a'i rôch heb synwyr
Sy 'n lladd pob ymgais yn llwyr;
*Diana* fawr y dynion
Y gwr teg, nis gwared hon:
Dod dy bwys yn ddwys ar Dduw,
Ac arddel Iôn, y gwir-Dduw:
Duw 'r Tâd a fo 'n dŵr i ti,
I d' enaid da 'r adwaeni;
O'i râd maddeugar ydyw,
Diysgog, trugarog yw;
Rhoed it' siriol orfoledd
A chymmorth wrth borth y bedd,
A Chana'n i'th iach enaid
Mewn hedd fry uwch lletty'r llaid.

---

## ANNERCH I'R PARCH. D. SILVAN EVANS.

Daniel Las, nid bâs yw'th ben—at winiaith
  Mad hynaws yr Awen:
 Gemwaith a luni 'n gymmen;
 Cei wirglod pur heb sur sen.

## I DELYN DEWI.

O BOB màn, Gymry anwyl,—O neswch
I'r hynawsaf bur-ŵyl;
TELYN DAFYDD rydd rwyddwyl,—
Dewch yn llon—mae hon mewn hwyl.

Ei llais, ei hadlais sy' 'n dihidlo—mêl,
Ei sain mwyn sy' 'n tanio
Y galon;—dàn ymgilio
Aiff[a] diawl uffernawl ar ffo.

TELYN DAFYDD i bob teulu—deued
Trwy 'n daear o ddeutu,—
Yna cûr a dolur dû
Ni bydd, un awr, i'n baeddu.

I'r ddôr os daw GOFAL, ryw ddydd,—(oerferch
Gas farfog aflonydd,)
Wyr hoff, dangoswch yn rhydd
I'w difa DELYN DAFYDD.

---

## I FLODAU DYFED.

BLODAU o ardd hoff harddwych—yr Awen
Fwyn rywiog oleuwych,
Didawl ogoniant ydych,
Hynotta' i WALIA wych.

---

a 1 Samuel xvi. 23.

Blodau Eden wèn nid oe'nt ail—i'r rhai'n,
Mor hynod yw'r glwysddail!
Diammhur gysur gwiwsail
A ddyd yr amryliw ddail.

Pur iesin y parhasant,—a diau
Heb un diwedd byddant;
Eu sudd a'u gwawr oesoedd gànt
Yn ddilwgr hwy a ddaliant.

Llaw GLANDYFRO'DD
I'n a'u casglodd,
Caiff o wirfodd, coffa hwyrfaith;
Fod yn NYFED
Awen addfed,
Ni gawn weled o'i gynnilwaith.

Per aroglau
Y cain FLODAU,
Hwyr a borau 'r awyr burant;
Ac ymenydd
Pob rhyw Brydydd
A llawenydd diball lonnant.

## ENGLYNION

O Glod i gofiant y Parch. DAVID DAVIS, o Gastell-Hywel, y'nghyd â'r Awdwr, sef y Parch. THOMAS GRIFFITHS, (*Tau Gimel.*)

GRIFFITHS yn lew a graffodd—ar hanes,
Gwr hynod a barchodd;
Medrus yw ei ymadrodd,
Yn iawn bur i weini'n bodd.

Os Dewi a ddistawodd,—was diwyd,
Os daear a'i llyncodd,
Ei lafar a bêr lifodd
Sydd ar glawr, oreufawr rodd.

Hanes y mawr Brydydd hynod,—dilai,
Sydd deilwng o wirglod;
*Tau Gimel*, mewn teg ammod,
Wnaeth waith o eglurwaith glod.

---

## TOSTURI.

MELUS gan rai yw moli—glan adail
A gwyrdd-ddail y gerddi;
Da, ystyriol dosturi
Tra fyddaf a folaf fi.

'Sawl bortho (gwyno) y gwan—yn landeg
O'i lewndid ei hunan,

Trysorau heirdd tra seirian,
Duw Ddofydd a rydd i'w ran.

---

## I'R GWANWYN.

Pa mor hyfryd, Wanwyn tirion,
  Ydyw cael dy wenau di!
Mor ddymunol dy ymweliad
  A'n daearen siriol ni!
Darfu 'r Gauaf, darfu 'r gwyntoedd,
  Darfu 'r oerfel llym a blin;
Daeth y Gwanwyn nawsaidd meiriol,
  A thawelwch ar ei fin.[a]

---

## EMYN.

Salm xviii. 2.

Yr Arglwydd yw fy nghraig o hyd,
  A chraig a saif yw hon;
Efe a'm ceidw byth yn glyd
  Rhag cur a chwerw dòn,
Nid ofnaf byth tra bo fy nhad
O'r nef i mi 'n Waredwr mad.

---

a Cyfansoddodd yr Awdwr ychwaneg nâg un pennill, ond methwyd a dyfod o hyd iddynt.

Fy nharian gref yw 'm Harglwydd Iôr,
  A chorn goruchel iawn;
Ei iachawdwriaeth sydd fel môr,
  I mi o gysur llawn;
Fy uchel-dŵr, byth yn fy Nuw
Yr ymddiriedaf tra bwy' byw.

Efe yw 'm glân gadernid i
  Yng nghanol pydiau fyrdd;
A phwy yn well nâ 'm nefol Ri
  A'm tywys yn fy ffyrdd?
Ar goll erioed nid aeth y dyn
A ga'dd yn dwr ei ddwyfol Gun.

Fel hyn yn dawel âf ym mla'n
  Dan darian Brenin nef,
Rhof iddo fawl ar felus gân
  Am ei ddaioni ef;
O fewn ei dŷ, ar ben fy nhaith,
Rhof iddo glod mewn newydd iaith.

---

# BEDD-ARGRAFFIADAU.

---

## I RIENI YR AWDWR.

Rhoi tad a mam fâd i fedd,—rhoi wyneb
  Rhai anwyl i'r ceufedd:
 Trwy fôn y galon gulwedd
 E dery glwyf fal dur gledd.

## AR GOFADAIL Y PARCH. ARCH-DDIACON BEYNON.

I'r Eglwys bu 'n lwys iawn lâd,—ei chynydd
Gan chwennych yn wastad:
Gwrol ei serch a'i gariad,
I'w fawl teg, at hon fel tad.

Noddodd yn hael awenyddion—ei wlad,
Drwy lydain wobrwyon:
Dien saif am danaw sôn
Tra Gwalia 'n dàl trigolion.

---

## AR GORONWY OWEN.

Wyla, Fôn, na weli fedd—y prif-fardd,
Nas profodd ymgeledd
Yn ei wlad, lle carai wledd—
Dewr gân a daear Gwynedd.

---

## I'r Parch. J. Davies Jones, Plas-bach, Ciliau Aeron.

Gwybodus, ddawnus dduwinydd—ydoedd:
Nodedig athronydd;
Ei gân sy 'nawr ar gynnydd
I'w Dad, Ion, yng ngwlad y dydd.

I JOHN THOMAS, Penlôn, gerllaw y Cribin.

OEDD e'i fryd ym mhob gwybodaeth;
Ond yn bennaf mewn cerddoriaeth;
Gobaith sydd y cân yr awr'on
Gerdd ei Dduw yng ngwlad angylion.

---

I EVAN JONES, Nantygwynfan, y'nghyd â dau o'i blant.

YR oedd y rhai'n yn glodfawr iawn
  Mewn dysg a dawn peroriaeth;
A thrwy'r eglwysi gwagle sydd
  O'u hol, a chystudd helaeth.

---

I SAMSON a MARY THOMAS, Beili-cadarn.

YR un dydd ddau wirion, da,—yn boenus
    Dibenodd eu gyrfa:
  I'w plant, rhag min un blin blâ,
  Ion addfwyn, bydd di 'n noddfa.

---

Ar fedd hen Glochydd Llanybyther.

LLUNIODD fedd glwyswedd a glân—i luoedd
    Lawer o bob oedran:
  Heddyw hwn sydd ei hunan
  Yn wr mud dan y gro mân.

## ERAILL AR AMRYWIOL ACHOSION.

---

Dwy chwaer a roes yr Angeu 'nghlo
  A phridd y gro sydd arnynt;
Ond hir bydd cof mewn cariad llawn
  Yn dyner iawn am danynt.

---

Brawd bach a chwaer ym mlodau 'u hoes
  Llaw Angeu roes i'r beddrod:
Yr ifaingc glân, eich lle yw 'r llwch,
  Bob amser byddwch barod.

---

I'r un rhieni tri o blant
  A gydorweddant yma;
Bu rhoi eu gwedd o dan y gŵys
  Yn alar dwys a gwasgfa.

---

Yr oedd y ddau yn serchog iawn,
  I bawb yn llawn addfwynder;
O'u torri 'lawr ym more'u dydd
  Mae tristwch prudd a thrymder.

---

Plentyn ydoedd mwynaidd hawddgar,
Call a thawel, ffraeth a dengar;
Yn y llwch mae 'nawr yn gorwedd;
Cwyd o'r pridd i wlad gorfoledd.

YM more'i oes, tra gwawr y byd
  Yn hawddgar hyfryd iddo,
Daeth poenus nych i friwio'i fron,
  A'i roi fan hon i huno.

---

EDRYCH yn fynych fy annedd—gyfyng,
    Gan gofio dy ddiwedd,
  Drwy guro am drugaredd
  Cyn dyfod is bargod bedd.

---

OW! rhanwyd i'w rhieni—hir alar,
    Hwyr wylant am dani;
  Bydd cof per o'i hoffder hi
  A'i da synwyr dwys heini.

---

YN glyd goruwch byd a bedd,—ryw ennyd,
    Ca'r uniawn ei buchedd
  Wir fwynhau diderfyn hedd,
  Yn felus ei gorfoledd.

---

ACHOS sydd it' mewn iechyd—ystyried
    Na's dewrwych dy nerthyd:
  Duw biau edau bywyd
  A'r hawl i fesur ei hyd.

Y BEDD yw diwedd y daith—i ddewraf
    Ddaearol gydymaith,
  Ond duwiolion gânt eilwaith
  Gwrdd uwch ser mewn mwynder maith.

---

BU bennaf y babanod—yn rhai cu
    Gan Iesu gwyn isod;
  A châ y rhain uwch y rhod
  Iawn wenu arno 'n hynod.

---

NA wylwch, rieni haelion,—ond teg
    Barotowch heb gwynion:
  Fry yn y ne', lle mwyn llon,
  Da wyl fydd i'r duwiolion.

---

DWYS gadarn ben dysgeidiaeth,—goludog
    O lydan ddyrchafiaeth,
  Dewr a gwan, mewn daear gaeth
  Hunant heb un gwahaniaeth.

---

NID yw'r bedd ond nôd i'r byd—o ingus
    Nerth Angeu dychrynllyd:
  Gweision Iôr sy 'n gôr i gyd,
  Heb waeau, mewn gwell bywyd.

Gwel y fan fechan gaf fi,—a 'ngwely
Yng ngwaelod pridd-lenni;
Ddyn hoenus, heddyw 'n heini,
Yr unwedd fydd d' annedd di.

---

Ca'dd hau mewn dagrau, ond lôn—a'i dygodd
I degwch nef dirion:
Heddyw 'n lân cân uwch cwynion
Yn bêr a thyner ei thôn.

---

Wele fi mewn gwaelaf fan,—a'm hannedd
Ym mynwes y graian;
Trwy Dduw a'm medd, ryfedd ran,
I fywyd dof yn fuan.

---

Farwolion gwaelion i gyd,—tŷ oerfedd
Yw terfyn eich bywyd:
Sylfaen yn nheyrnas eilfyd
Yn awr barn fydd well nâ'r byd.

---

A mi yn llwch rhwng pryfed bedd,
A thithau, ddyn, yn iach dy wedd,
Wyf gymmaint yma y'ngofal Duw
A thi sy 'n heinif gydâ'r byw.

# ENGLISH AND LATIN PIECES.

## TRANSLATIONS FROM THE WELSH.

THE winter's angry blast is o'er,
The roaring winds contend no more;
The spring is come with moistening dews,
And clothes the meads with verdant hues.

To bed to-night I'll not repair,
The one I love reclines not there:
I'll lay me on the stone apart;
If break thou wilt, then break, my heart.

### IN WELSH.

**Darfu'r gauaf, darfu'r oerfel,
Darfu'r gwlaw, a'r gwyntoedd uchel ;
Daeth y gwanwyn glas eginog,
Dail i'r llwyn, a dôl feillionog.**

**Nid af ddim i'r gwely heno,
Nid yw 'r un wy 'n garu ynddo ;
Mi orweddaf ar y garreg :
Tor, os torri, 'nghalon fwyndeg.**

Sweet is the bird's melodious lay,
In summer morn, upon the spray;
But from Amelia sweeter far
The notes of friendship after war.

Another dress will Nature wear
Before again I see my fair;
The smiling fields will daisies bring,
And on the trees the birds will sing;
But one thing changed will never be,
That is, my heart, sweet girl, for thee.

Melus iawn yw llais aderyn
Foreu haf ar ben y brigyn;
Ond melusach cael gan Gwenno
Eiriau heddwch wedi digio.

Gwedd hoff anian a gyfnewid
Cyn y gwelwyf fy anwylyd;
Bydd y meillion ar y meusydd,
Cân yr adar yn y coedydd:
Ond un peth ni all gyfnewid,
Sef fy nghalon i, f' anwylyd.

## TO———

IF thy soul to nuptial pleasures
  Can without reluctance turn,
Let not care for earthly treasures
  Make thee these ideas spurn.

Cast thy looks through God's creation,
  See the tenants of the sky,
Do they ever dread starvation,
  Do they lack their due supply?

Sweet the days when deeply buried
  Gold in earth's recesses stood,
And when hungry mortals hurried
  To the oak for daily food.

Then did human inclination
  With its proper freedom move;
Thoughts of lucre or privation
  Did not damp the paths of love.

Now we measure all perfection
  By the weight of sordid gold,
And reciprocal affection,
  When it lacks, grows dull and cold.

But a bosom that despises,
  All such vanities is mine;
And to me a hope arises
  That the same is truly thine.

Mittere, amice, tibi semper mihi dulce salutem,
Dulcius at nunquam quam nunc tibi dicere, salve,
Cum faciles prolem Di donavêre virilem.

Salve, digne, pater, sera atque optata voluptas
Te tandem visit, sennii solamen amicum ;
Filius aucturus nomen patrisque tuumque,
Atque, domûs famam longum laturus in ævum.

Salve, mater amans, salve, quam dulce dedisti
Quamque viro carum jam semper pignus amoris,
Usque tibi similis placidis sit moribus ille,
Ut tibi sunt Charites, illi sint semper amicæ.

Tu quoque, parve puer, salve, dulcissime rerum.
Nec tibi sint curæ, felix, nec turpis egestas,
Nec quos fert aliis tristis fortuna tumultus,
Sed tibi quocunque aspicias En lilia crescunt,
Atque ipsi assurgunt circum cunabula flores.
Non tibi divitias solum fortuna paravit,
Te majora manent. Tibi sunt imitanda parentum
Et nomen clarum et recti sibi conscia virtus.
O sequere, alme puer, sancti vestigia patris,
Sic pietatis amans sic servantissimus æqui,
Sic promptus punire malos, succurrere justis.

Te nascente, puer, latè pax arva tenebat,
Otia tu quæras pacis nec fœdera rumpas,
Et si concutiant patriam dum vita manebit
Tristia bella tuam, leges tu protege sacras,
Consilio dextrâ gentem defende Britannam,
Et sis nostrarum constans fiducia rerum.

*Nov. 9th*, 1817. D. EVANS.

# CYWYDD Y FESEN.

## LATINE REDDITUM.

In tenui nitor, faciles adstate Camœnæ,
Auspicibus vobis parvæ miracula Glandis
Enumerare volo, & varios quos proferat usus.
Hanc agiles mundam transverso limite nacti
Agricolæ condunt terrâ, mandantque sepulchro.
Haud mora, findit humum, nunc alto Phœbus Olympo
Miratur, subitò quam terret sidera vultu!
Lata super valles montesque En brachia tollit!
Bella gerens ventis & nubes visere tendens.
Hæc nudata comâ, magno crescente tumultu,
Frigore non tentata, manet sine crinibus audax.
Intonet Auster agris, Boreas immurmeret irâ,
Convocet Eurus atrox rauco clamore procellas,
Hujus & in pectus luctantia cornua jungant,
Usque locum servat sediqne immobilis hæret.
Hæc volucres tutos, ventis ululantibus, umbrat,
Sedibus hîc lætis omnes per membra quietem
Inveniunt placidam, puerorum & retia temnunt.
Hîc corvi faciunt nidos nec tutior ulla
Esse protest turris dulces educere natos.
Ingruat huic unquam tecto si barbarus hostis,
Sese armis cingunt horrendaque jungere tendunt
Prœlia, commoti furibundis aëra pennis
Pulsant & Martem invitant clamore superbo,
Pro sese atque suis bello certare parati.
Ecce instar montis celsi nunc æquora circum
Glans vultu incedens alto mirabile visu,
Per mare cœruleum turbam transducit ovantem,
Et sistit lætam distantibus impigra terris.
Ex utero flammas et multa latentia tela
Pro patriâ tollens hostes devincit iniquos.
Auditur subitò longé de corpore vasto

Horrificans sonitus, tellus ut dura tremescat,
Territus ipse procul Neptunus diffugit alto.

Extremam ecce Asiam visens Glans inde reportat
Gemmas atque aurum & quæ discolor India mittit,
Non venti rabies cæci tumidumve profundum
Vorticibus rapidis celerantis sistere cursum
Fulmineum pollet ; non unquam gurgite vasto
Sorbetur fluctus inter, sed more sagittæ
Emicat ad superas auras lucemque revisit.
Pro quæstu agricolæ persolvit munera grata,
Nam comitatur eum linquat cum carus amicus,
Et terrà gelidum corpus complectitur udà.
Quam turpe ignavis glandes dare pabula porcis,
Nominis & famæ cum sint tutamina nostræ,
Non ego sub pedibus glandem dum vita manebit
Prosternam, posthac hanc et violare dolebo.
Dum duræ quercus glandesque per arva manebunt,
Insula nostra mari late dominabitur alto.

# EGLURHAD,

A wnaed ar gais rhai o'r Tanysgrifwyr anllythyrennog, o rai geiriau yn y Llyfr hwn, a ddichon fod yn annealladwy. Gall rhai o'r geiriau fod yn arferedig mewn un parth, ond yn anarferedig mewn parth arall o'r Dywysogaeth.

---

Adeg, cyfle
Adwyth, archoll, niweid
Addien, dien
Addoer, oer
Aeth, cur, alaeth
Aerfa, ymladdfa
Anaele, ofnadwy, erchyll
Anelwig, anffurfiedig
Annwn, uffern
Annel, magl
Arwr, un a wna orchestion uwchlaw arfer dyn
Arwedd, arwain
Argyllaeth, cur
Ban, uchel
Bâr, llid
Berth, (rhyw fenywaidd, ferth) teg
Boda, barcud
Blwng, (rhyw fen., flong) digofus
Broch, cynddeiriogrwydd
Breg, rhwygiad
Bun, merch
Cannaid, gloyw, disglaer
Cain, teg, hardd-deg
Cail, praidd
Callestrawg, ffurfiedig o gerrig tân
Ceinach, ysgyfarnog
Coledd, amgeleddu
Côr, mintai o gantorion
Croch, uchel-leisiawg
Cyni, cur
Cyweithas, hynaws
Chwai, clau, buan
Digwl, difai
Diw, diwrnod
Direidi, drygioni
Dieisor, digyffelyb
Diledryw, trwyadl
Diymogawr, diletty
Dwyre, cyfodi
Edwino, gwywo
Eirioes, hardd
Eirian, teg
Eirias, crasboeth
Eres, hynod
Eilio, gwau ; eilio cerdd, gwau cerdd
Esgud, heinif, bywiog
Eurbryd, o bryd neu liw'r aur
Ewyn, berem y llif
Ffawd, hapusrwydd
Ffaeth, mwyn
Fflwch, disglaer
Ffrom, digofus
Ffullio, brysio
Ffur, gwâr
Ffun, anadl
Gâlon, gelynion
Glwys, glan, hardd
Goddau, amcan, bwriad
Gosgeddig, prydweddol
Gwawl, goleuni
Gwammal, anwadal
Gweryd, y pridd, y bedd
Gweilgi, y môr
Gwâr, llariaidd
Gwyllon, bwciod
Gweli, clwyf
Gwrdd, cryf
Gwyrth, gwyrthiau
Gwyrennig, bywiog
Haddef, cartref
Iesin, hardd, mwynwawr
Ioli, deisyfu, gweddio
Llâd, lles
Llên, dysgeidiaeth
Lleufer. goleuni
Llumman, baner
Madien, mad, anwyl
Magnel, gwnn rhyfel
Mirain, hardd-deg
Miwail, tyner
Mil, (rhif liosog, milod) anifail
Myr, (rhif luosog o môr) moroedd
Myg, anrhydeddus
Nad, (rhif liosog, nadau) gwaedd
Neud, diau
Nwyfiant, anlladrwydd ; bywiogrwydd
O, os
Od, eira man
Pau, gwlad, bro
Porth, cymmorth
Prid, drud, gwerthfawr
Puchiant, chwennychiad
Rhus, nag, naccad
Seirian, hardd
Sywedydd, astronomydd
Ter, neu terydd, pur
Telediwrwydd, harddwch
Tirf, hoywdeg
Toli, lleihau
Tragyfyth, tragywydd
Tud, tir, bro, gwlad
Tywyllwg, tywyllwch
Ymwrio, brwydro, ymladd.

---

Lampeter : Argraffwyd gan Gwmni y Wasg Eglwysig Gymreig, Cyf.

# RHESTR Y TANYSGRIFWYR.

---

Bowen, John, Llwyneinon, Newcastle-Emlyn.
Bowen, S. F., Home Missionary College, Manchester
Bowen, Thomas, Maesyfelin, Llanwenog.

Davies, Rev. B. C. (Carolan), Tyny-[illegible].
Davies, Andrew O., The Shop, Talsarn.
Davies, J. Walters, Velindre, Lampeter.
Davies, D. Ernest, do.
Davies, Rev. D. C. (Cadfwlch), St. Clears.
Davies, Rev. Canon, B.A., The Vicarage, Pwllheli.
Davies, Rev. Evan, The Vicarage, Llanofer.
Davies, David, Llwyndewi, Cellan.
Davies, J. J., Blaenwaun Stores, Cellan.
Davies, Miss Sarah Helen, do.
Davies, E. W., National Provincial Bank, St. George, Bristol.
Davies, T. Ll., National Provincial Bank, Brecon.
Davies, Miss Sarah Helen, Llwynivan, Cellan.
Davies, Miss Dinah, Llwynivan, Cellan.
Davies, D. Saunders, The Shop, Felinfach (4 copies).
Davies, Mrs. Sarah, Park, Ciliau Aeron.
Davies, Mrs. M. A., Crugywheel, Llanybyther.
Davies, Daniel, Pontmarchog, Cribyn.
Davies, Miss Anne, do.
Davies, Peter, do.
Davies, Evan, do.
Davies, David John, do.
Davies, John, 2, Welby Road, Cardiff.
Davies, John, Derlwyn, Dorothy Street, Pontypridd.
Davies, Griff., Albion Stores, Pontypridd.
Davies, David, The Stores, Llandyssul.
Davies, Rev. J. Bowen, Abercwmboi, Aberdare (2 copies).
Davies, John, Croesgoch Council School, Letterston, Pem.
Davies, John, London House, Aberayron.
Davies, Rev. J. E. (Rhuddwawr), London.
Davies, Joseph, Ex-Mayor of Lampeter.
Davies, J. H., C.M., Council School, Llangybi.
Davies, Miss M., Maesffynon Cottage, [illegible].
Davies, Miss Maggie, Caecoch, Cribyn.
Davies, Griff., Penlan, Pencarreg.
Davies, Captain W., Rhydowen-fach, Llandyssul.
Davies, Jos., 224, Regent Street, London.
Davies, John, Dolau, Llanerchaeron.
Davies, D. A., Carpenter, Silian.
Davies, John, Clogger, Bridge Street, Lampeter.
Davies, Thos., Stonecutter, Glyn-isaf, Llangeitho.
Davies, T. C. (Cenech), Ton Pentre, Rhondda.
Davies, Evan, Tirbach, Llanwnen.
Davies, David, Llygadenwyn, Llanybyther.
Davies, Evan, 14, Trevor St., Aberdare.
Davies, Samuel, servant, Penlan, Cribyn.
Davies, Walter, London House, Lampeter.
Davies, Dr. D. J., B.A., Blaencwrt, Llanwnen.
Davies, Josiah, Caxton Hall, Lampeter.
Davies, Miss S. A., The Alma, Llandyssul (2 copies).
Davies, J. R., National Provincial Bank, Bristol.
Davies, Miss Maggie, Head Mistress, Intermediate School, Brecon.
Davies, Mrs. Mary, 30, Henfaes Road, Tonna, Neath.
Davies, R. W., Jesus College, Oxford.
Davies, James, Glyn, Ram, nr. Lampeter.
Davies, J. T., Fedw, Llangeitho.
Davies, Dr. J. H., Tir Caradoc, Port Talbot.
Davies, W., Manciple, St. David's College, Lampeter.
Daniel, John, Abercerdinen, Llanwnen.

Edmunds, Rev. T. C., The Rectory, Trefilan.
Edwards, O. M., M.A., Fellow and Tutor of Lincoln College, Oxford.
Edwards, Miss Hannah, Old Shop, Cribyn.
Evans, Christmas, Heol Garreg Brewery, Merthyr (6 copies).
Evans, David, Co-operative Stores, Mountain Ash (6 copies).
Evans, Dr. Evan, Aeron Villa, Felinfach (6 copies).
Evans, Lewis, Tynant, Ciliau Aeron (2 copies).
Evans, Dr. Tom, Borough Hospital, Croydon.
Evans, Thomas, Green Grove, Felinfach.
Evans, David, Mynach Arms, Cribyn.
Evans, Mrs. Rachel, Brighton Cottage, Cribyn.
Evans, D. T., Ynys-fel-N, Dihewyd.
Evans, Mrs. Anne, Maesmynach, Cribyn.
Evans, Miss Sarah, do.
Evans, Miss Elizabeth, do.
Evans, Miss Rachel, do.
Evans, Daniel, do.
Evans, Sarah, Drefach, Llanwnen.
Evans, Mary, Pwllglas, Lampeter.
Evans, Thomas, Lowtre, Llanwnen.

# *RHESTR Y TANYSGRIFWYR.*

Evans, Evan, Llechwedd-deri-isaf, Llanwnen.
Evans, John, Calgary, Alberta, Canada.
Evans, J. Rhys, National Provincial Bank, Wrexham.
Evans, Thomas, Castell-du, Llanwnen.
Evans, John, Nantygelli House, Lampeter.
Evans, Miss Ellen, 2, Kilburn Park Road, London.
Evans, Rev. Gwilym, B.A., Dukinfield.
Evans, Rev. J. H. Silvan, Ty-gwyn-ar-Daf, Whitland.
Evans, David, Llysfaen House, Llanybyther (12 copies).
Evans, Rev. J. N., The Vicarage, Llangybi.
Evans, Rev. J. W., Llanfair Orllwyn Rectory, Henllan, R.S.O.
Evans, Evan, Chemist, Ammanford.
Evans, John, Solicitor, Llandyssul.
Evans, D. H., Cabinet Maker, Lampeter.
Evans, Harold, 24, Bridge St., Lampeter.
Evans, Miss Edith, 11, Barmouth Road, Wandsworth, London.
Evans, D. R., Printer, Bridge Street, Lampeter (2 copies).
Evans, Enoch, Blue Bell, Cwrtnewydd.
Evans, Jenkin, 66, Tudor Road, Cardiff.
Evans, Rev. T. C., The Parsonage, Gwmllynfell, Swansea Valley.
Evans, Rev. George Eyre, Ty Tringad, Aberystwyth.
Evans, T. J., 13, Canonbury Park, South, London, N.
Evans, David, Lliwdy, Cellan.
Evans, Jenkin, Pwllglas, Lampeter.
Evans, David, Frwdyrhwyad Arms, Cribyn.
Evans, John, Clyngwyn, Cribyn.
Evans, Jenkin, Penwern, Llanllwni.
Evans, Timothy, Coachbuilder, Lampeter.
Evans, Evan, 68, Tynbedw St., Treorchey.
Evans, Rees, Cribyn.
Evans, Roderick, Chemist, Lampeter.
Evans, David, Ffynonfair, Lampeter.
Evans, Evan, Earl of Windsor Hotel, Trecynon, Aberdare.
Evans, Rev. John, B.A., 20, Brown Street, Colne.
Evans, Rev., David, Cribyn.
Evans, Rev., Eli, Cellan.
Evans, Miss Sarah Jane, Lax, Lampeter.
Evans, Miss Sarah Hannah, Red Lion, Llanwnen.
Evans, J., 313, Commercial Road, London.
Evans, William, 73 Bwllfa Road, Cwmdare, Aberdare.
Evans, William, Court Farm, Llanwenog.
Evans, David, Maesllwyd, Cribyn.
Evans, Joshua, Llysfaenisaf, Llanwnen.
Evans, Eilir, "Western Mail" Office, Cardiff.
Evans, James, Gwynfryn, Pennant.

Felix, Mrs. E., Grug-garn, Cilcennin.

Griffith, W. Barrow, C.M., Council School, Cribyn.

Howells, Jenkin, White Hart, Lampeter.
Howell, J. M., Aberayron.
Howells, John, Maesgwyn, Cribyn.
Hughes, A. W., National Provincial Bank, Brecon.
Hughes, Mrs. T. H. R., Neuadd-fawr, Lampeter.
Harries, Mrs., Tanyresger, Pumpsaint, Llanwrda.
Hay, George, 10, Ynyswen Rd., Treorchy.
Herbert, Mrs. Elizabeth, Tangaer, Cribyn.
Herbert, John, Lampeter.

Isaac, Rev. Evan, Llanidloes, Mont.

James, D. T., Jesus College, Oxford.
James, D. H., Beilibedw. Llanybyther.
James, E. O., County School, Aberayron.
Jenkins, Dr. Herbert, Tanyberllan, Penmaenmawr, North Wales.
Jenkins, Dr. J. D., M.D., Council Offices, Pentre Rhondda.
Jenkins, Rev. John (Gwili), Jesus College, Oxford.
Jenkins, Mrs. Sarah, Mynach Villa, Cribyn (12 copies).
Jenkins, Jenkyn, Sydney, N.S.W.
Jenkins, Miss Sarah, Henardd, Felinfach.
Jenkins, Miss Mary Anne, do.
Jenkins, Miss Jane, do.
Jenkins, Miss Dinah, do.
Jenkins, John, do.
Jenkins, Mrs. Elizabeth, Dolwern, Felinfach (2 copies).
Jenkins, Jenkyn, Glanwern, Felinfach (2 copies).
Jenkins, Evan, Faversham, Kent.
Jenkins, Daniel, 10, Bwllfa Dare Terrace, Cwmdare, Aberdare.
Jenkins, Griffith, Smith, Cribyn.
Jenkins, John, Smith, Tynberth, Cribyn.
Jenkins, John, Rhosfach, Cribyn.
Jenkins, Daniel, 10, Bwllfa Row, Cwmdare, Aberdare.
Jenkins, Dan., C.M. (Pentrefelin), Council School, Llancrwys, Llanwrda.
Jenkins, Miss Anne, Trecefel, Tregaron.
Jenkins, Llewelyn, Moyddinfawr, Cribyn.
Jenkins, John, Gorswen, Pennant.
Jenkins, Willam, Drovers Arms, Llangeitho.
Jenkins, Rev. E. Oliver, Llwynrhydowen.
Jenkins, Rev. Enoch E. Egerton, Bolton.
Jenkins, Rev. James E., Padiham.
Jenkins, David, Maesnewydd, Cribyn.
Joinson, Arthur, Plâs Pontfaen, Cellan.
Jones, Rev. E. Ceredig, B.A., 15, Claremont, Bradford.
Jones, Rev., J. J., M.A., Morwel, Coleshill Terrace, Llanelly.

# *RHESTR Y TANYSGRIFWYR.*

Jenkins, D., Gwynfryn, Pennant.
Jones, W. T., 15, Stratton St., Picadilly, London.
Jones, D. D., Cwmmawr, Silian.
Jones, J. Caradog, Llanarth, R.S.O.
Jones, D. Lewis, Penwern, Felinfach.
Jones, J. E., Hendrefadog House, Tylorstown.
Jones, J. H., 15, Severn St., Welshpool.
Jones, D. Eddie, Cefncoedycymmer.
Jones, Evan, Upper Bailey Street, Ton Pentre, Rhondda.
Jones, David, Bwlchyberllan, Cwrtnewydd.
Jones, Rees, Carpenter, Treherbert.
Jones, John L., 172, Clare Road, Cardiff.
Jones, Dr. Rhys, 21, Paget Street, Cardiff.
Jones, Rev. E. Lewis, Heyope Rectory, Knighton.
Jones, John Owen, Nantygelli Villa, Llanwenog.
Jones, John U. H., Cwmere, Felinfach.
Jones, Jonathan, Cemetery Rd., Treorchy.
Jones, D. Tivy, Lampeter.
Jones, James, Caerau, Llanwenog.
Jones, J. D., Jesus College, Oxford.
Jones, E. H., U.C.W., Aberystwyth.
Jones, Rev. J. Islan, B.A., Accrington.
Jones, Rev. R. J., M.A., Aberdare.
Jones, Rev. R. C., Lampeter.
Jones, W. S., Ogmore House, Lampeter.
Jones, Rev. Simon, B.A., Pontypridd.
Jones, Josiah, Alexandra House, Cwrtnewydd.
Jones, Evan, Nantyronen, Felinfach.
Jones, Mrs. Dinah, Bank Hall, Lampeter.
Jones, John, 39, John Street, Abercwmboi, Aberdare.
Jones, David, Croyddin Castle, Lampeter.
Jones, Miss E., c/o T. Thomas, Solicitor, Llandyssul.
Jones, David, Bryn, Cribyn.
Jones, David, Hafodwen Mill, Cribyn.
Jones, Thomas, Troedrhiw-rhwch, Llandyssul.
Jones, Evan, Maesteg, Cribyn.
Jones, D. Robert, Llwyngroes, Llanwnen.
Jones, Edward Owen, do.
Jones, Walter, do.
Jones, Arthur, do.
Jones, T. J., C.M., Council School, Llanwnen.
Jones, Mrs. Sarah, Cwmmynach, Cribyn.
Jones, Miss Dinah, Bank Villa, Cribyn.
Jones, Miss Maggie, do.
Jones, Rev. T. [illegible], 16, Marmion Road, Sefton Park, Liverpool.
Jones, Joseph J., Pentrefelin, Tregaron.
Jones, T. J., C.M., Warren School, Pembroke.
Jones, Evan, B.Sc., Technical Institute Consett, Durham.
Jones, Mrs., [illegible] Farm, Llangeitho.
Jones, B. C., [illegible] Square, Aberayron.
Jones, Stephen, Gwinfil, Llangeitho.
Jones, Miss B. E., M.P.S., 63, Banbury Road, Oxford.

Jones, E. L., London and Provincial Bank, Lampeter.
Jones, Evan, Abernant, Cribyn.
Jones, Dr. Evan, Brynderw, Llanybyther.
Jones, John, 17 Bryntirion St., Dowlais.

Lewis, D. Lloyd, Tyddyndu, Cribyn.
Lewis, J. D., Gomerian Press, Llandyssul.
Lewis, Johnnie, Calary, Canada.
Lewis, William, C.M., Bryn Road School, Lampeter.
Lewis, Miss Ellen, Maesgwilym, Cellan (2 copies).
Lewis, Miss Anne, Plâsbach, Ffynonoer, Felinfach.
Lewis, John, 32, Whitefield Street, Ton Pentre, Rhondda.
Lewis, Rev. J. T., M.A., The Rectory, Llanfyrnach.
Lewis, Lewis, 80, Ystrad Road, Pentre, Rhondda.
Lewis, John, Top Hill, Pontypridd.
Lewis, Caleb, Belgrave Road, Clifton, Bristol.
Lewis, Richard, Llanrhystyd.
Lewis, Mrs. Jane, Penrallt, Llanina.
Lewis, J. Rogers, Hafod, Felinfach, R.S.O.
Lewis, Rev. J. D., The Vicarage, Pencarreg.
Lloyd, Charles, J.P., D.C.L., M.A., Waunifor, Maescrugiau.
Lloyd, J. Spencer, Treorchy.
Lloyd, W. J., Llundainfach, Felinfach.
Lloyd, Rev. T., Moelifor, Talgarreg.
Lloyd, Rees, Caerau Road, Caerau, Bridgend.
Lloyd, Mrs. R., Greengrove, Felinfach.
Lloyd, David, Penbrynrhug, Llanio Road.
Llyfrgell Coleg Dewi Sant, Llanbedr.
Llyfrgell Rydd, Caerdydd.
Llyfrgell Rydd, Abertawe.

Morgan, Jenkin, Trual, Mydroilyn.
Morgan, William, River Side, Clarke St., Treorchy.
Morgan, Evan, Moelfre Farm, Lampeter.
Morgan, John, do.
Morgan, T., Gorphwysfa, Llangeitho.
Marles-Thomas, Miss M. E., Somerville School, Aberystwyth.
Morris, Ben., Caxton Hall, Lampeter.
Morris, Miss Mary, Blaenplwyf Lodge, Lampeter.
Morris, B., Adelaide, South Australia (3 copies).

Nicholas, Rev. W. Ll., The Rectory, Flint, North Wales.

Owen, Rev. J. C., The Vicarage, Llanfihangel Ystrad.
Owen, The Right Rev. John, D.D. (Lord Bishop of St. David's), The Palace, Abergwili.

# *RHESTR Y TANYSGRIFWYR.*

Price, Dr. Hugh Bankes-, Dolaugwyrddon, Lampeter.
Price, Evan, Temple Buildings, Cribyn.
Price, T. C., Wernfendigaid, Llancrwys.
Price, Arthur, Bridge Street, Lampeter.
Pugh, Dr. J. W., 45, Upper Rock Terrace, Brighton (2 copies).

Rhys, Principal, M.A., D.Litt., Oxford.
Rees, Daniel, Herald Office. Carnarvon.
Rees, William, 46, Cardiff St., Treorchy.
Rees, John (Glan Cynon), 1b, Albert St., Aberdare.
Richards, Tom, 2, Poplar Street. Troedyrhiw, Merthyr Tydvil.
Richards, Rev. H., Ynysboeth, Glamorgan.
Richards, D. M., Wenallt, Aberdare.
Richards, Jenkin, Tymawr, Talsarn.
Richards, Miss Anne, do.
Richards, Timothy, Ardwyn, Lampeter.
Rosser, Rev. Howell, College Street, Lampeter.
Rowlands, T. J., Jesus College, Oxford.

Thomas, Rev. T., U.H., Green Park, Llandyssul.
Thomas, Mrs., do.
Thomas, Dr. J. Lynn, C.B., 21, Windsor Place, Cardiff.
Thomas, David (Dewi Hefin), Glaslwyn, Cribyn.
Thomas, D. J., Old Shop, Cribyn.
Thomas, David, B.A., H.M.I.S., Aberystwyth.
Thomas, J. Hefin, C.M., Brynbowydd, Blaenau Festiniog.
Thomas, J. R., C.M., Council School, Pontsian, Llandyssul.
Thomas, William, 18, The Promenade, Swansea.
Thomas, D. M., 25, Cardiff St., Treorchy.
Thomas, James, Coachbuilder, Treherbert.
Thomas, W. P., D.C., Treorchy.
Thomas, Thomas, C.M., Gwelfryn, Dorothy Street, Pontypridd.
Thomas, Rev. T. Arthur, Llandyssul.
Thomas, Mr.—, Greyhound Inn, Llandilo.
Thomas, Thomas, Llwyncnau, Lampeter.
Thomas, Daniel, Waungron, Lampeter.
Thomas, Mrs. Jane, Maesllan, Dihewyd.
Thomas, David, Glyn, Cribyn.
Thomas, Rev. Sydney, Senior Curate of S. Peter's, Cardiff.
Thomas, Dr. Tudor, Cardiff.
Thomas, Thos., Myrtle Villa, Carmarthen.
Thomas, Thos., Wernddu, Pennant.
Thomas, Rev. E. Walter, Ebenezer, Cefncoedycymer.

Watkins, Daniel, Solicitor, Lampeter.
Williams, Rev. H. M., Brynhyfryd, Ystrad Meurig.
Williams, Mrs. E., The Shop, Dihewyd.
Williams, E., 20, North Road, Ferndale.
Williams, Rev. Henry, Pontfadog Rectory, Ruabon.
Williams, David, Bridge St., Llanybyther.
Williams, J. J. Lloyd-, The Schools, Oswestry.
Williams, W. Llewellyn-, B.C.L., M.P., Temple, E.C.
Williams, D. M., Draper, &c., Treorchy.
Williams, W. Hefin, Bridge St., Lampeter.
Williams, John, Felinfach, R.S.O.
Williams, D. T., Harford Square, Lampeter.
Williams, Rev. J. L., Billingsley Rectory Bridgnorth.
Williams, J. B., Welsh Church Press, Lampeter.

